# PEREDUR AB EFRAWC

EDITED

WITH A GLOSSARY

BY

KUNO MEYER

LEIPZIG
S. HIRZEL
1887.

# PEREDUR AB EFRAWC

EDITED

WITH A GLOSSARY

BY

KUNO MEYER

LEIPZIG
S. HIRZEL
1887.

## Preface.

This little book is intended to serve as a text-book for University classes in Welsh both in this country and abroad. It is hoped that it may also be found useful by Welshmen as an introduction to the study of their older literature. The text based on a collation (made by me in 1884) of the original Ms. with Lady Guest's edition was unfortunately in print before the new edition of the Mabinogion by Prof. J. Rhŷs and Mr. J. Gwenogvryn Evans was published. This work which I have just received is a faithful reproduction of the original. I regret that I must direct the student's attention to the following *corrigenda* in my text.

3,17 for *Ac Owein* read *Owein* (*Oowein* MS.) ib. *pob peth* ib. *ellit* 8,2 *dathoed* 8,6 *dineua6d* 8,8 *ky* 8,14 *angerd* 10,1 *dathoed* 10,9 *dystu* 14,6 insert *herwr* before *ar* 18,3 *diben* 27,2 for *unben* read *yn veu* 27,17 *nom* (*nom* MS.) 28,2 *allwyf nerth* (*a* with punctum delens) 31,1 *weirglod* 31,11 for *Ie* read *Ae* 34,7 *g6dost* 34,8 *yni odef* 34,9 *gennyf* 35,3 *honno* 36,9 *ac ol yn ol* 36,19 *kych-6ynnassant* 38,28 *ry giglef* 39,4 *diryued* 42,12 *hynny* 42,25 *dyffrynn* 44,7 *vyd y* 44,15 *h6nn* 46,10 *trahiraeth* 47,3 *atwaenat* ib. *atwae[ne]y* 47,8 *kyflauanu* 49,2 *Agharat* 50,12 *pei na bei hyt* 52,5 *mineu* 52,10 *pun* (leg. *pan*?) 53,1 *dywedaf* 53,12 *meibon brenhin* (*y* with punctum delens) ib. *diodeyueynt* 56,12 *gor6ed* 59,5 for *ymi* read *ynni* 60,13 *ar eu* 62,13 *wnathoed* 62,19 *dynho* 63,11 *r6ymat* 65,1 insert *coch* 65,2 the words which I was unable to decipher are *a gorfl6ch o vaen crissyalt* 66,2 *newad* MS.

66,7 *agharueid* 68,3 *ny 6nn* 69,4 *chysgaf* 70,5 *wastat-ualch* 70,18 *chychwynnv* 71,2 *Oi a* 71,3 *ia6net* 71,5 *vygkyghor* 71,7 for *hynny* read *vynyd* ib. *ar y trugeinuet* 71,9 for *diffyn* read *diffryt*, for *ovyn* read *dyvot*, after *neb* insert *y uynyd* 71,12 *educher* 71,15 for *ueneg or uyny* .. read *dyuot y an llys or g6yput* 71,16 for *gallom* read *na allom* 74,6 for *un* read *im* 74,16 for *mi* read *uu* 75,13 read *torei* 78,8 read *gwreicka* 81,4 for *ynteu* read *y ohen* 82,8 *arnvnt*

In the following instances where I have read *byth* Rhŷs and Evans have *vyth*: 13,2. 14,13. 22,12. 23,2. 27,11. 34, 12. 40,8.

The reader is also asked to make the following corrections and additions in the Glossary:

For *achenoges* (= *anghenoges*), Silvan Evans, the first part of whose Welsh Dictionary has just appeared, quoting the passage from *Peredur*, gives 'a poor or indigent woman'. — p. 54[a] insert *cryssialt* 'crystal'. p. 55[a] insert *cyflafanu* (*ac*) 'to injure'. p. 58[a] dele *difefaw* and insert *dinëu* 'to spill'. p. 58[b] insert *diffryt* 'to guard, defend'. p. 61[a] insert *educher* 'till night'. p. 62[b] dele *falrihyt*. p. 63[a] dele *gaugerdd* and insert *angherdd* 'false craft'. p. 63[b] insert *goddef* 'to suffer', Ir. *fodamaim*. ib. insert *gohen* 'onset, attack'.

My best thanks are due to Mr. Ivan T. Davies, of Llanuwchllyn, Bala, who has given me much kind and valuable assistance, especially in the compilation of the glossary.

University College, Liverpool.

K. M.

**1.** Efra6c iarll bioed iarllaeth y Gogled. A seith meib a oed ida6. Ac nyt o gyuoetheu yn v6yaf yd ymborthei Efra6c, namyn o t6rneimeint a ryueloed ac ymladeu. Ac ual y mae mynych yr neb a ymkanlyno ac ymladeu a ryueloed, ef a las ae ch6e meib. Seithuet mab a oed ida6. Peredur oed y en6, a ieuhaf oed h6nn6. Ac nyt oed oet ida6 vynet y ymlad nac y ryuel. Pei oet ida6, ef a ladyssit mal y llad6yt y tat ae vrodyr. G6reic ystrywyat kymet oed yn vam ida6. A phryderu a oruc yn ua6r am y hun mab ae chyfoeth. Ssef a gafas yn y chyghor, ffo y ynyalwch a diffeith6ch didram6yeit, ac ymada6 ar kyfannedeu. Ny ada6d neb yn y chedymdeithas, namyn g6raged a meibon a dynyon didraha, ny ellynt nac ny wedei udunt nac ymlad na ryfelu. Ny lyuassei neb yn y lle y clywei y mab kynnulla6 na meirch nac arueu, rac dodi y vryt or mab arnunt.

**2.** Ac yr fforest yd aei y mab beunyd y ch6are ac y taflu llysgyon ac yskyryon. A diwarna6t ef a welei gatwan geifyr y uam, a d6y ewic yn gyfagos yr geifyr yn sefyll. Ac eressu yn ua6r a oruc y mab, bot y d6y hynny heb gyrn, a chyrn ar y rei ereill. A thybya6 eu bot yn hir ar goll, ac am hynny kolli eu kyrn onadunt. Ac y ty a oed ym benn y fforest yr geifyr, o vil6ryaeth a phedestric, ef a gymhell6ys yr ewiged ygyt ar geifyr y my6n. Ef a deuth Peredur drachefyn att y uam. 'Y mam,' heb ef 'peth ryued ryweleis yghot. D6y oth eifyr di g6edy ryuynet g6yllt-ineb yndunt a rygolli eu kyrn rac hyt y buant ar goll dan y

1.1 *Effra6c* MS. 4 *ryueleod* MS. 10 *diffieith6ch* MS. 2.3 *seffyll* MS. 10 *rac meint hyt* MS., *meint* being underdotted with puncta delentia in black ink, and struck out by a later hand in red ink.

koet. Ac ny chafas dyn gystec u6y noc a geueis yn eu gyrru y my6n.' Ac ar hynny kyfodi a oruc pa6b, a dyfot y edrych. A phan welsant yr ewiged, ryfedu yn ua6r a orugant.

**3.** A diwarna6t 6ynt a welynt tri marcha6c yn dyuot ar hyt marcha6cfford gan ystlys y fforest. Sef tri marcha6c oedynt: Gwalchmei uab G6yar, a Geneir G6ystyl, ac Owein uab Uryen. Ac Owein yn kad6 yr ol yn ymlit y marcha6c a rannassai yr aualeu yn llys Arthur. 'Vy mam,' heb y Peredur 'beth y6 y rei racko?' 'Egylyon ynt, vy mab,' heb hitheu. 'Llyma vy ffyd,' heb y Peredur 'yd af yn egyl gyt ac 6ynt.' Ac yr fford yn eu herbyn y deuth Peredur. 'Dywet, eneit,' heb yr Owein 'a weleist di varcha6c yn mynet heiba6 na hediw na doe?' 'Na 6n,' heb ynteu 'beth y6 marcha6c.' 'Y ry6 beth 6yf i' heb yr Owein. 'Bei dywetut ti y mi y peth a ovynnaf ytti, minneu a dywed6n y titheu yr h6nn a ovynny ditheu.' 'Dywedaf yn llawen' heb yr Owein. 'Beth y6 hwnn?' heb y Peredur 6rth y kyfrwy. 'Kyfr6y y6' heb yr Owein. Amovyn a oruc yn ll6yr, beth oed y kyweirdebeu a welei ef ar y g6yr ar meirch ar arueu, a pha beth a vynnynt ac 6ynt ac a ellynt ohonunt. Ac Owein a uenegis ida6 yn ll6yr pop peth or a ellir ac 6ynt. 'Dos ragot,' heb y Peredur 'mi a weleis y kyfry6 a ovynny titheu. A minneu a af yth ol ti.'

**4.** Yna ymchoelut a oruc Peredur att y uam ar nifer. 'Y mam,' heb ef 'nyt egylyon oed y rei gynneu, namyn marchogyon urdolyon.' Yna y dyg6yda6d y uam yn var6lewic. Ac yd aeth Peredur hyt lle yd oed keffyleu a gywedei gynnut udunt, ac a dygei v6yt a llynn or kyfanned yr ynyal6ch. A cheffyl brychwel6 yskyrnic cryuaf a tebygei a gymerth. A phynnyorec a wasg6ys yn gyfr6y ida6. Ac o wydyn danwaret y kyweirdabeu a welsei ar y meir[ch] ac ar bop peth a oruc Peredur.

**5.** A thrachefyn y deuth Peredur att y uam. Ar hynny datlewygu a oruc yr iarlles. 'Ie, vy mab, kych6yn a vynny?' 'Ieu,' heb ef 'gan dy genyat.' 'Arho y gennyf i gyghoreu kynn dy gych6ynnu.' 'Yn llawen,' heb ef 'dywet ar vrys.' 'Dos ragot'

---

3.4 *yr yraualeu* MS. 4.7 *kyweirdabei* MS.

heb hi 'y lys Arthur yn lle mae goreu y g6yr. a haelaf, a dewraf. Lle y g6elych egl6ys, kan dy pader 6rthi. O gwely vwyt a dia6t, or byd reit itt 6rtha6, ac na bo o wybot a dayoni y rodi itt, kymer dy hun ef. Or clywy diaspat, dos wrthi, a diaspat g6reic annat diaspat or byt. Or g6ely tl6s tec, kymer ef, a dyre y arall. Ac o hynny clot a geffy. Or g6ely wreic tec, gordercha hi, kyn nyth vynno. G6ellg6r a phenedigach yth wna o hynny no chynt.'

**6.** A g6edy yr ymadra6d h6nn6 ysgynnv a oruc Peredur ar y uarch, a dyrneit o aflacheu vlaenllym yn y la6. A chychwyn racda6 ymeith a oruc. Ac y bu deudyd a d6ynos yn kerdet ynyal6ch fforestyd, ac amry6 le diffeith heb v6yt ac heb dia6t. Ac yna y doeth y goet ma6r ynyal. Ac ym pell yn y coet ef a welei lannerch dec wastat. Ac yn y llannerch y g6elei bebyll. Ac yn rith egl6ys ef a gant y pader 6rth y pebyll. A pharth ar pebyll y doeth, a dr6s y pebyll a oed yn agoret. A chadeir eureit oed yn agos yr dr6s. A mor6yn wineu deledi6 yn y gadei[r] yn eisted. A ractal eur am y thal, a mein llywychedic yn y ractal. A modr6y eururas am y lla6. A disgyn a oruc Peredur, a dyuot racda6 y my6n. A llawen uu y uor6yn 6rtha6, a chyfarch g6ell ida6. Ar tal y pebyll ef a welei v6yt, a d6y gostrel yn llawn o win, a d6y dorth o fara cann, a gol6ython o gic meluoch. 'Vy mam' heb y Peredur 'a erchis y mi, pa le bynnac y g6el6n v6yt a diawt, y gymryt.' 'Dos titheu, unben, yn llawen yr b6yt, a gressa6 6rthyt.' Yna y kymerth Peredur hanner y b6yt ar llynn ida6 e hun, ac ada6 y llall yr uor6yn. A phan daruu y Peredur v6yta, dyuot a oruc a gost6ng ar tal y lin rac bronn y uor6yn. 'Vy mam' heb ef 'a erchis y mi, yn lle y g6el6n tl6s tec, y gymryt.' 'Kymer titheu, eneit!' heb hi. Y uotr6y a gymerth Peredur. A chymryt y uarch, a chychwyn ymeith.

**7.** Yn ol hynny llyma y marcha6c bieuoed y pebyll yn dyuot. Sef oed h6nn6 Syber6 y Llannerch. Ac ol y march a welei. 'Dywet,' heb ef 6rth y for6yn 'p6y a uu yma g6edy

6. 21 *eneit eneit* MS.

mivi?' 'Dyn enryued y ansa6d, argl6yd' heb hi. A menegi ansa6d Peredur ae gerdet yn ll6yr. 'Dywet,' heb ef 'a vu ef gennyt ti a g6neuthur anuod arnat?' 'Na vu, myn vygcret,' heb hi 'na cham nys goruc ym.' 'Myn vygcret, nyth gredaf, ac yny ymgaff6yf ac efo y dial vygkewilyd am llit, ny cheffy ditheu trigya6 d6ynos yn vn ty.' A chyuodi a oruc y marcha6c y ymgeissa6 a Pheredur.

**8.** Ac ynteu Beredur a gychwynna6d parth a llys Arthur. A chynn y dyuot ef y lys Arthur, ef a daethoed marcha6c arall y lys Arthur. Ac a rodes modr6y eururas yn dr6s y porth yr dala y uarch. Ac ynteu a deuth yr neuad yn lle yd oed Arthur ar teulu, a G6enhwyfar ae rianed, a g6as ystafell yn g6assanaethu o orvl6ch eur ar Wenh6yuar. Yna y marcha6c a diueua6d y llyn a oed ynda6 am y h6yneb ae bronffoll, a rodi bonclust ma6r y Wenh6yfar, a dywedut: 'Or byd neb kyn ehofnet ac am6yn y gorul6ch h6nn a mi, a dial sarhaet G6enh6yfar, deuet ym ol yr weirglod, a mi ae harhoaf yno.' Ay varch a gymerth y march[awc], ar weirglod a gyrch6ys. Sef a orugant pa6b or teulu gost6ng eu penneu, rac adol6yn y un vynet y dial sarhaet G6enh6yfar. A thebygolyaeth oed gantunt, na wnaei neb ch6aen kyn ehofnet a hynny, ony bei uot arna6 vilwryaeth, ac augerd neu letrith, ual na allei neb ymdial ac ef.

**9.** Ar hynny llyma Peredur yn dyuot yr neuad ar geffyl brychwel6 ysgyrnic, a chyweirdabeu musgrell arna6, ac yn anhyd6f yn llys kyfurd a honno. Sef yd oed Gei yn seuyll ym perued y neuad. 'Dywet,' heb y Peredur 'y g6r hir, racko mae Arthur?' 'Beth a vynnut ti' heb y Kei 'ac Arthur?' 'Vy mam a erchis y mi, dyuot ym urda6 yn varcha6c vrda6l att Arthur.' 'Myn vygkret,' heb y Kei 'ry aghyweir yd wyt o uarch ac arueu.' Ac ar hynny y arganuot or teulu, a b6r6 llyskyon ida6.

**10.** Ar hynny llyma g6r yn dyuot y my6n, a daethoed vl6ydyn kyn no hynny y lys Arthur, ef a chorres, y erchi tr6ydet y Arthur, a hynny a ga6ssant. Ac yggouot y vl6ydyn ny dywedassei un ohonunt vngeir 6rth neb. A phan arganvu y

---

7. 6 *a ag6neuthur* MS. 8. 5 *yn yng6assanaethu* MS.

cor Peredur 'Haha,' heb ef 'grossa6 Du6 6rthyt, Peredur, dec uab Efra6c, arbennic milwyr a blodeu marchogyon!' 'Dioer,' heb y Kei 'llyna vedru yn dr6c, bot vl6ydyn yn llys Arthur yn vut yn kael dewis dy ymdidan6r, a gal6 y kyfry6 dyn a h6nn ygg6yd Arthur ae deulu, ae dyscu yn arbennic milwyr a blodeu marchogyon!' A rodi bonclust ida6, yny vyd yr lla6r yn y var6lewic. Ar hynny llyma y gorres 'Haha,' heb hi 'grossaw Du6 6rthyt, Peredur, dec vab Efra6c, blodeu y milwyr a chann[w]yll y marchogyon!' 'Ie, vor6yn,' heb y Kei 'llyna vedr yn dr6c, bot vl6ydyn yn vut yn llys Arthur, a gal6 y kyfry6 dyn h6nn yn y mod y gelweist.' A g6an g6thtroet o Gei yndi, yny vyd yr lla6r yn var6lewic. 'Y g6r hir,' heb y Peredur 'manac ym mae Arthur!' 'Ta6 ath son!' heb y Kei. 'Dos yn ol y marcha6c a aeth odyma yr weirgla6d, a d6c y gorvl6ch y ganta6, a b6r6 ef, a chymer y varch ae arueu, a g6edy hynny ti a geffy dy urda6 yn varcha6c urda6l.' 'Y g6r hir, minneu a wnaf hynny.' Ac ymchoelut penn y varch ac allan ac yr weirglod.

**11.** A phan deuth, yd oed y marcha6c yn marchogaeth yn ryuygus oe allel ae dewred oe tebygolyaeth ef. 'Dywet,' heb y marcha6c 'a weleist di neb or llys yn dyuot ym ol i?' 'G6r hir oed yno' heb ef 'a erchis y mi dy v6r6 di, a chymryt y gorvl6ch ar march ar arueu y my hun.' 'Ta6!' heb y marcha6c 'dos drachefyn yr llys, ac arch y gennyf y Arthur, dyuot ae ef ae arall y ymwan a mi. Ac ony da6 yn gyflym, nys arhoaf i euo.' 'Myn vygcret,' heb y Peredur 'dewis di ae oth vod ae oth anvod, mivi a vynnaf y march ar arueu ar gorfl6ch.' Ac yna y gyrchu or marcha6c ef yn llidya6c, ae wan ac arllost y wae6 y r6ng ysg6yd a mynwgyl dyrna6t ma6r doluryus. 'Aha, was,' heb y Peredur 'ny ch6aryei weisson vy mam a mivi velly. Minneu a ch6aryaf a thitheu val hynn.' Ae v6r6 ef a gaflach blaenllym ae vedru yn y lygat, yny vyd tr6y y wegil allan, ac ynteu yn var6 yn gytneit.

**12.** 'Dioer,' heb yr Owein uab Uryen 6rth Gei 'dr6c y medreist am dyn ffol a yrreist yn ol y marcha6c. Ac un o deu a der6 ida6, ae lad, ae v6r6. Os y v6r6 a der6 yr marcha6c, rif g6r m6yn or llys a vyd arna6 gan y marcha6c, ac aglot

dragywyda6l y Arthur ae vilwyr. Os y lad a der6, yr aglot a gerda val kynt, ae pecha6t arna6 ynteu yn ychwannec. A llyma vy ffyd, yd af i y wybot, py gyfranc y6 yr eida6 ef.' Ac y doeth Owein yr weirgla6d.

**13.** Sef y g6elei Owein Peredur yn llusga6 y g6r ar hyt y weirgla6d. 'Beth a wney di uelly?' heb Owein. 'Ny da6 byth' heb y Peredur 'y beis hayarn y amdana6. Tym y6 gennyf pany ohona6 e hunan pan heny6.' Yna y diosges Owein yr arueu ar dillat. 'Llyma, eneit,' heb ef 'uarch ac arueu gwell nor rei ereill, a chymer yn llawen 6ynt, a dyret ygyt a mi hyt att Arthur, yth urda6 yn varcha6c urda6l, kanys ti ae dylyy.' 'Ny chat6yf vy w6neb ot af,' heb y Peredur 'namyn d6c di y gorfl6ch y gennyf i y Wenhwyuar, a dywet y Arthur, pa le bynnac y b6yf i, g6r ida6 vydaf, ac o gallaf lles a g6assanaeth ida6, mi ae g6naf. A dywet, na deuaf y lys vyth, yny ymgaff6yf ar g6r hir yssyd yno, y dial sarhaet y kor ar gorres.' Yna y deuth Owein drachefyn yr llys, a menegi y gyfranc y Arthur a G6enh6[y]uar ac y ba6p or teulu, ar byg6th ar Gei.

**14.** Ac ynteu Peredur a gych6ynn6ys ymeith. Ac ual y byd yn kerdet, llyma uarcha6c yn kyuaruot ac ef. 'Pa le pan deuy di?' heb y marcha6c. 'Pan deuaf o lys Arthur' heb y Peredur. 'Ae g6r y Arthur 6yt ti?' heb ef. 'Ie, myn vygkret,' heb y Peredur. 'Ia6n lle yd wyt yn ymardel6 ac Arthur.' 'Paham?' heb y Peredur. 'Mi ae dywedaf itt,' heb ef 'ar Arthur vum eiryoet, ac a gehyrd6ys a mi yn wyr ida6, mi ae lledeis.' Ny bu h6y y ryngtunt no hynny, ymwan a orugant. Ac ny bu hir, yny vyrya6d Peredur ef dros pedrein y varch yr lla6r. Na6d a erchis y marcha6c ida6. 'Na6d a geffy' heb y Peredur 'gan rodi dy l6 ar vynet y lys Arthur, a menegi y Arthur, mae mi ath vyrywys yr enryded g6assanaeth ida6 ef, a manac na deuaf byth y lys, yny gaff6yf dial sarhaet y corr ar gorres.' Ar marcha6c a rodes y gret ar hynny. Ac a gychwynn6ys racda6 y lys Arthur. Ac a oruc hynny ar byg6th ar Gei.

**15.** Ac ynteu Peredur a gych6ynn6ys racda6. Ac yn yr

---

13. 4 *diosdes* MS. 7 *yth durda6* MS.

un wythnos ef a gyfaruu ac ef vn marcha6c ar bymthec, ac ef Peredur ae byrywys yn gywelydyus. Ac a aethant y lys Arthur. Ar vn ry6 ymadra6d gantunt ac a dothoed gan y marcha6c kyntaf, ar vn byg6th gan Peredur ar Gei. A cheryd a gauas Kei gan Arthur, a goualus uu ynteu Gei am hynny.

**16.** Ynteu Peredur a gychwynn6ys racda6. Sef y deuth y goet ma6r ynyal. Ac yn ystlys y coet yd oed llyn. Ac ar y tu arall yd oed kaer dec. Ar lann y llyn y g6elei g6r g[6]ynllwyt telediw yn eisted ar obennyd o bali, a g6isc o bali ymdana6. A g6eisson yn pyscotta ar y llynn honno. Val y gwelas y g6r g6ynll6yt Peredur yn dyuot, kyuodi a oruc tu ar gaer. A chloff oed yr hen6r. Ynteu Peredur a gyrchwys y llys ar porth a oed yn agoret. Ac yr neuad y deuth. Ac yd oed y gwr gwynllwyt yn eisted ar obennyd, a ffyryf dan ma6r yn llosgi rac y vron. A chyfodi a oruc y teulu ar niuer yn erbyn Peredur, ae diarchenu. Ac erchi a wnaeth y gwr yr mack6y, eisted ar tal y gobennyd. A chyteisted ac ymdidan a orugant. A phan vu amser gossot byrdeu a mynet y v6yta, ac ar y neill la6 yr g6r bioed y llys yd oed Peredur yn eisted. G6edy daruot b6yta, govyn a oruc y g6r y Peredur, a wydyat llad a chledyf yn da. 'Na 6n,' heb y Peredur 'pei kaff6n dysc, nas g6yp6n.' 'A wypei chware a ffonn a tharyan yn da, ef a wybydei ymlad a chledyf.'

**17.** Deu vab oed yr g6r, g6as melyn a gwas g6inieu. 'Kyfod6ch, weisson,' heb ef 'y chware a ffynn ac a tharyaneu!' Ac yna y chware a ffynn yd aethant. 'Dywet, eneit,' heb y g6r 'p6y oreu or g6eisson dybygy di a chware?' 'Vyn tebic y6,' heb y Peredur 'y gallei y g6as melyn wneuthur g6aet ar y llall, pei as mynnei.' 'Kyuot titheu, eneit, a chymer y ffonn ar daryan o la6 y g6as g6ineu, a g6na waet ar y gwas melyn, os gelly.' Peredur a gyfodes, a mynet y chware ar g6as melyn, a dyrchauel lla6 arna6, ae dara6 dyrna6t ma6r, yny dyg6yda6d yr ael ar y llygat, ae waet ynteu yn rydec. 'Ieu, eneit,' heb y g6r 'dos y eisted bellach, a goreu dyn a lad a

17. 4 *a achware* MS.

chledyf yn yr ynys honn vydy di. Ath ewythyr ditheu, vra6t dy fam, 6yf ynneu, a chyt a mi y bydy y wers honn yn dyscu moes ac aruer y g6ladoed ae mynutr6yd, kyuartalr6yd ac ad-f6ynder ac unbenr6yd, ac ymadaw weithon a ieith dy vam. A mi a vydaf athro itt, ac ath urdaf yn varcha6c urda6l o hynn allan. A llyma a wnelych. Kyt g6elych beth a vo ryued gennyt, nac amouyn amdana6, ony byd o wybot y venegi itt. Nyt arnat ti y byd y keryd, namyn arnaf i, kanys mi yssyd athro itt.' Ac amryfael enryded a g6assanaeth a gymerassant. A phan uu amser y gyscu yd aethant.

**18.** Pan doeth y dyd gyntaf, kyuodi a oruc Peredur, a chymryt y varch, a chan gennyat y ewyth[y]r kychwyn ymeith. Ac ef a doeth y goet mawr ynyal. Ac yn mhen y coet y deuth y dol, ar tu arall yr dol wastat y g6elei gaer va6r, a thu ar lle h6nn6 y kyrch6ys Peredur. Ar porth a gauas yn agoret. Ac yr neuad y deuth. Sef y g6elei g6r g6ynll6yt telediw yn eisted ar ystlys y neuad, a mack6yeit yn amyl yn y gylch. A chyfodi a orugant yn urdasseid ae erbynnya6, ae dodi y eisted ar y neill la6 yr g6r bioed y llys. Ac ymdidan a orugant. A phan uu amser mynet yr b6yt, dodi Peredur a 6naethp6yt y eisted ar neill la6 y g6r m6yn y v6yta.

**19.** A g6edy daruot b6yta ac yvet eu hamkann, gofyn a oruc y g6r da y Peredur, a wydyat ef lad a chledyf. 'Pei kaff6n dysc, tebic oed gennyf y g6yd6n' heb y Peredur. Ssef yd oed yst6ff6l ma6r yn lla6r y neuad, amgyffret mil6r ynda6. 'Kymer' heb y g6r wrth Peredur 'y cledyf racko, a thara6 yr yst6ff6l hayarn.' A Pheredur a gyfodes, ac a drewis yr yst6ff6l, yny vu yn deu dryll. 'B6r6 y dryllyeu ygyt, a chyuanna 6ynt!' Peredur ae dodes ygyt, a chyuannhau a orugant ual kynt. Ar eilweith y trewis yr yst6ff6l, yny vyd yn deu dryll, ar cledyf yn deu dryll. Ac ual kynt kyuannha6 a orugant. Ar dryded weith y kyffelyb dyrna6t a trewis, ae b6r6 ygyt, ac ny chyuanhaei nar yst6ff6l nar cledyf. 'Ie, was,' heb y g6r 'dos y eisted

---

18. 3 The MS. seems to have *mben*.

bellach, am bendith ytt! Yn y teyrnas goreu dyn a lad a chledyf 6yt. Deu parth dy dewred a geueist, ar trayan yssyd heb gael. A g6edy keffych yn g6byl, ny thyckya y neb amrysson a thi. Ath ewythyr 6yf inneu, vra6t dy vam. Brodoryon ym ni ar g6r y buost neithwyr yn y ty.'

**20.** Ac yna ymdidan ae ewythyr a oruc Peredur. Ar hynny y g6elei deu was yn dyuot yr neuad ac yn mynet yr ystauell. A gwaew gantynt anveitra6l y veint, a thri ffr6t o waet yn redec or m6n hyt y lla6r. A phan welas ef y niver h6nn6, lleuein a drycyruerth a orugant. Ac yr hynny ny thorres y gwr y ymdidan a Pheredur. Yr hynny ny dywat ef y Beredur yr ystyr, nys gofynna6d ynteu. G6edy tewi yspeit vechan, ar hynny llyma d6y vorwyn yn dyuot, a dysgyl va6r y ryngtunt, a phenn g6r yn y dysgyl, a gwaet yn amyl yn y chylch. Ac yna diaspedein a orugant yn va6r niuer y llys, yny oed vlin trigya6 yn vnllys ac 6ynt. Ac or diwed tewi ohonunt. A phan vu amser y gysgu, yd aeth Peredur y ystauell tec.

**21.** A thrannoeth Peredur a gychwynnwys gan genyat y ewythyr racda6 ymeith. Odyna ef a doeth y goet, ac ym pell yn y coet ef a glywei diaspat. Sef y g6elei wreic wineu deledi6, a march a chyfr6y arna6 yn seuyll geyr y lla6, a chelein yn y hymyl. Ac yn keissa6 b6r6 y gelein ar y march yn y kyfr6y, y dyg6ydei ynteu yr lla6r, ac y dodei hitheu diaspat. 'Dywet, vy chwaer,' heb y Peredur 'pa diaspedein yssyd arnat?' 'Oya, ysgymunedic Peredur, bychan waret vyggovit a geueist eiryoet gennyt ti.' 'Paham' heb y Peredur 'y byd6n ysgymun i?' 'Am dyuot yn acha6s y lad dy uam. Kanys pan gychwynneist oe hanuod, y neidya6d g6ae6 yn y challonn, ac o hynny y bu uar6. Ac am hynny yd 6yt yn ysgymun. Ar corr ar gorres a weleist yn llys Arthur, correit dy dat ti ath uam oedynt. A chwaer uaeth itt 6yf ynneu, am g6r pria6t oed h6nn, ae llada6d y marcha6c yssyd yn y llannerch yn y coet. Ac na dos ditheu yn y gyvyl ef, rac dy lad ohona6.' 'Vy chwaer, cam yd wyt ym kerydu. Am vy mot yn gyhyt ac y bum y gyt a chwi, abreid vyd ym y oruot. A phei byd6n a vei h6y, ana6d vydei ym y oruot. A thitheu ta6 bellach ath drycyruerth, kany thykya

amgen, a mi a gladaf y gelein. A g6edy hynny mi a af hyt lle mae y marcha6c, y edrych a allwyf y dial arna6.'

**22.** A g6edy cladu y g6r ohona6, dyuot a orugant yr lle yd oed y marcha6c yn march[og]aeth yn ryuygus yn y llannerch. Ar hynt gofyn or marcha6c y Peredur, py le pan doei. 'Pan deuaf o lys Arthur.' 'Ae g6r y Arthur 6yt ti?' 'Ieu, myn vygkret.' 'Iawn lle yd ymgystlynyo Arthur.' Ny bu h6y no hynny, ymgyrchu a orugant. Ac yn y lle Peredur a vyrya6d y marcha6c. A na6d a erchis ynteu y Beredur. 'Na6d a geffy' heb y Peredur 'gan gymryt y wreic honn yn pria6t, a gwneuthur y parch ar anryded goreu a ellych idi, am lad ohonat titheu y g6r pria6t hi yn wirion, a mynet ohonat y lys Arthur, a menegi ida6, mae mi ath vyrywys yr enryded a g6assanaeth y Arthur. A menegi ida6, na deuaf i byt[h] y lys ef, yny ymgaff6yf ar g6r hir yssyd yno, y dial sarhaet y corr ar gorres arna6.' A chedernit ar hynny a gymerth y gan y marcha6c. A chyweira6 y wreic yn gyweir o varch a dillat gyt ac ef y lys Arthur. A menegi y Arthur y gyfranc, ar b6g6th ar Gei. A cheryd a gauas Kei gan Arthur ar teulu am wylltu ohona6 g6as kysstal a Pheredur o lys Arthur.

**23.** Heb yr Owein uab Uryen: 'Ny da6 y mack6y h6nn6 byth yr llys nyt a Cei or llys allan.' 'Myn vygcret,' heb Arthur 'mi a geissaf ynyal6ch Ynys Prydein amdana6, yny caff6yf. Ac yna g6naet pob un onadunt a allo waethaf y gilyd.'

**24.** Ynteu Peredur a gychwynnwys racda6. Ac a deuth y coet ynyal. Amsathyr dynyon nac alanot nys g6elei, namyn g6ydweli a llysseu. Ac yn dibenn y coet ef a welei gaer ma6r, a thyreu kadarn amyl erni. Ac yn agos yr porth h6y oed y llysseu noc yn lle arall. Ac ar llost y wae6 ef a ffusta6d y porth. Ar hynny llyma was melyngoch achul ar v6lch y gaer. 'Dewis, unbenn,' heb ef 'ae mi a agorwyf y porth itt, ae menegi yr neb pennaf dy uot titheu yn dr6s y porth?' 'Manac vy mot yma' heb y Peredur. 'Ac or mynnir vy nyvot y my6n, mi a deuaf.' Y mack6y a deuth drachefyn, ac a agores y porth y

---

22.7 *a ageffy* MS.

Peredur. A phan deuth yr neuad, ef a welei deunaw [w]eis o weisson culyon cochyon, und6f ac vnpryt ac vnwisc ac unoet ar g6as a agorassei y porth racdaw. A da vu eu g6ybot ae g6assanaeth. Ae diarchenu a orugant. Eisted ac ymdidan a orugant.

**25.** Ar hynny llyma pump mor6yn yn dyuot or ystauell yr neuad. Ar uorwyn pennaf onadunt, dieu oed ganta6, na welsei dremeint kyn decket a hi eiryoet ar arall. A henwisc o bali r6ylla6c ymdanei a uuassei da gynt, yny welit y chna6t trwyda6, a g6ynnach oed no bla6t y krissant. Y g6allt hitheu ae d6y ael duach oedynt nor muchud. Deu uann gochyon vychein yn y grudyeu cochach oedynt nor dim cochaf. Kyuarch g6ell y Peredur a oruc y vor6yn, a mynet d6yla6 myn6g6l ida6, ac eisted ar y neill la6. Nyt oed pell yn ol hynny, ef a welei d6y vanaches yn dyuot, a chostrel yn lla6n o win gan y lleill, a chwe thorth o vara cann gan y llall. 'Argl6ydes,' heb 6y 'Du6 a 6yr, na bu y gymeint arall a hynn o v6yt a llynn yr koveint h6nt heno.' Odyna yd aethant y v6yta, a Pheredur a adnabu ar y uor6yn mynnu rodi or b6yt ar llynn ida6 ef m6y noc y arall. 'Tydi, vy chwaer,' heb y Peredur 'myvi a rannaf y bwyt ar llynn.' 'Nac ef, eneit,' heb hi. 'Llyma vy ffyd, mae mi ae rannaf.' Peredur a gymerth attaw vara, ac a rodes y ba6p gystal ae gilyd. Ac y uessur ffiol or llynn ef a rodes y ba6p gystal ae gilyd. Pan oed amser mynet y gyscu, ystauell a g6eir6yt y Peredur, ac y gyscu yd aeth.

**26.** 'Llyma, vy chwaer,' heb y gweisson 6rth y vor6yn deckaf a phennaf onadunt 'a gygh[or]wn i ytti.' 'Beth y6 hynny?' heb hi. 'Mynet att y mack6y yr ystauell uchot y ymgynnic ida6 yn y wed y bo da ganta6 ef, ae yn wreic, ae yn orderch.' 'Llyna,' heb hi 'beth ni weda. Mivi heb acha6s eiryoet a g6r, ac ymgynnic ohonnaf ynneu ida6 ef, ym blaen vyggorderchu ohona6, ny allaf i hynny yr dim.' 'Dyg6n y Du6 an kyffes, ony wney ni hynny, yth ada6n yth elynnyon yma y wneuthur a vynnont a thi.' Ac rac ofyn hynny kychwynny a oruc y vor6yn, a than ell6ng y dagreu y dyuot racdi yr ystauell. A chan d6r6f y dor yn agori, deffroi a oruc Peredur. Sef yd oed

y vor6yn yn wyla6, ac yn drycaruerthu. ‘Dywet, vy chwaer,’ heb y Peredur ‘pa ystyr yd wyt yn wyla6?’

**27.** ‘Mi ae dywedaf ytt, argl6yd,’ heb hi. ‘Vyn tat i bioed y kyuoeth h6nn, unben ida6 e hun. Ar llys honn ar iarllaeth y danei goreu yn y gyuoeth. Sef yd oed mab iarll arall ym erchi ynneu ym tat. Nyt a6n ynneu om bod atta6 ef, nym rodi ynneu vynn tat om hanuod ida6 ef nac y iarll or byt. Ac nyt oed o blant ym tat i namyn myvi vy hun. A g6edy mar6 vyn tat y dyg6yd6ys y kyuoeth ym lla6 ynheu, a h6yrach y mynn6n euo no chynt. Sef a oruc ynteu yna ryuelu arnaf i, a goresgynn y kyuoeth eithyr yr vn ty h6nn. Ac rac daet y g6yr a weleist di, brodoryon maeth y mi, a chadarnet y ty, ny cheit byth, tra barhaei b6yt a llynn. A hynny a deryw, namyn ual yd oed y mynachesseu a weleist di yn porthi ni, herwyd bot yn ryd udunt h6y y kyfoeth ar wlat. Ac weithon nyt oes udunt wynteu na b6yt na llynn. Ac nyt oes oet bellach noc auory, yny del y iarll ae holl allu ganta6 am penn y lle h6nn. Ac os mivi a geiff ef, ny byd g6ell vyn dihenyd, nam rodi y weisson y veirch. A dyuot y ymgynnic y titheu, argl6yd, yn y wed y bo hegaraf gennyt, yr bot yn nerth ynni, yn d6yn odyma, neu yn amdiffynn ninheu yma.’

**28.** ‘Dos, vy chwaer,’ heb ef ‘y gysgu, ac nyt af y 6rthyt, kyny wnel6yf dim oc a dywedy, yny wyp6yf a allwyf a nerth y6ch.’ Drachefyn y deuth y uor6yn y gysgu. Trannoeth y bore y kyuodes y uor6yn, ac y deuth hyt lle yd oed Peredur, a chyvarch g6ell ida6. ‘Du6 a rodo da ytt, eneit, a pha ry6 ch6edleu yssyd gennyt?’ ‘Nyt oes namyn da, argl6yd, tra vych iach di, namyn bot y iarll ae holl allu g6edy disgynnu 6rth y porth. Ac ny welas neb lle amlach pebylleu na marchawc yn gal6 ar arall y ymwan.’ ‘Ieu,’ heb Peredur ‘kyweirer y minneu vy march!’ Yna y varch a gyweirwyt y Beredur. Ac ynteu a gyfodes ac a gyrch6ys y weirgla6d.

**29.** Sef yd oed marcha6c yn marchogaeth yn ryuygus yn y weirgla6d g6edy dyrchafel arwyd ymwan. Ac yna ymwan a orugant. A Pheredur a vyrya6d y marcha6c dros pedrein y varch yr lla6r. Ac yn diwed y dyd ef a deuth marcha6c ar-

bennic y ymwan ac ef, a b6r6 h6nn6 a oruc Peredur. Na6d a erchis h6nn6. 'P6y 6yt ti?' heb y Peredur. 'Dioer,' heb ef 'penteulu y iarll.' 'Beth yssyd o gyfoeth y iarlles yth uedyant ti?' 'Dioer,' heb ef 'y trayan.' 'Ieu,' heb ef 'eturyt idi draean y chyuoeth yn ll6yr, ac a geueist o da ohona6, a b6yt kan6r, ac eu llynn ac eu meirch ac eu harueu heno yn y llys idi, a thitheu yn garchara6r idi, eithyr na bydy eneituadeu.' A hynny a gahat yn diannot. Ar uor6yn y nos honno yn hyfryt lawen g6edy caffel k6byl o hynny.

**30.** A thrannoeth Peredur a gyrch6y[s] y weirgla6d, a lluossogr6yd ohonunt a byrya6d ef y dyd h6nn6. Yn diwed y dyd h6nn6 ef a deuth marcha6c ryuygus arbennic. A b6r6 h6nn6 a oruc Peredur, a nawd a erchis hwnnw y Peredur. 'Pa vn 6yt titheu?' heb y Peredur. 'Distein llys' heb ef. 'Beth' heb Peredur 'yssyd o gyuoeth y uor6yn yn veu ytti?' 'Trayan y kyuoeth' heb ef. 'Ieu,' heb y Peredur 'y kyuoeth yr vor6yn, ac a geueist o da ohona6 yn llwyr, a b6yt deukann6r, ac eu llynn ac eu meirch ac eu harueu, a thitheu yn garchara6r idi.' A hynny ynn diannot a gahat.

**31.** Ar trydyd dyd y deuth Peredur yr weirglawd. A m6y a vyry6ys ef y dyd h6nn6 noc undyd. Ac yn diwed y dyd ef a doeth iarll y ymwan ida6. Ac ef ae byrywys, a na6d a erchis ynteu. 'P6y 6yt titheu?' heb y Peredur. 'Mi y iarll,' heb ef 'nyt ymgelaf.' 'Ieu,' heb y Peredur 'y hyarllaeth yn g6b6l yr vor6yn, ath iarllaeth titheu heuyt yn achwanec. A b6yt trychann6r, ac eu llynn ac eu harueu ac eu meirch, a thitheu yn y medyant.' Ac uelly y bu yn g6b6l. Ac y trigya6d Peredur teir wythnos yn peri teyrnget a darestyngedigaeth yr uor6yn, ar kyuo[e]th wrth y chyghor. 'Gan dy genyat' heb y Peredur 'mi a gych6ynnaf ymeith.' 'Ie, hynny, vy mra6t, a vynny?' 'Ieu, myn vygcret, a phei na bei o garyat arnat ti, ny byd6n yma hyt y bum.' 'Eneit,' heb hi 'pa vn 6yt titheu?' 'Peredur uab Efra6c or Gogled. Ac or da6 na gofut arnat nac enpytr6yd, manac attaf, a mi ath amdiffynnaf, os gallaf.'

31. 14 *Paredur* MS.

**32.** Odyna kych6yn a oruc Peredur. Ac ym pell odyno ef a gyferuyd marchoges ac ef. A march achul goch6ys y danei. A chyuarch g6ell a oruc hi yr mack6y. 'Pa le pan deuy di, vy chwaer?' Mynegi a oruc ida6 yr acha6s yd oed ar y kerdet h6nn6. Sef oed honno g6reic Syber6 y Llannerch. 'Ieu,' heb ef 'mi y6 y marcha6c y keueist di y gofut h6nn oe acha6s. Ac ediuar vyd yr neb ae g6naeth.' Ar hynny llyma y marcha6c yn dyuot, ac yn amovyn a Pheredur, a welsei ef y kyfry6 uarcha6c yd oed ef yn y geisa6. 'Ta6 ath son!' heb y Peredur. 'Mi yd wyt yn y geissa6, ac myn vygkret, dr6c 6yt ar deulu 6rth y vor6yn, acha6s g6iryon y6 ohonaf i.' Ym6an eissoes a orugant. Ac ny bu hir yr ym6an, Peredur a uyrya6d y marcha6c, a na6d a erchis ynteu y Beredur. 'Nawd a geffy' heb y Peredur 'gan vynet dracheuyn y ford y deuthost, y venegi kaffel y vor6yn yn wirion. Ac yn wynab6erth idi hitheu dy v6r6 ohonaf i.' Y gret ar hynny a rodes y marchawc.

**33.** Ac ynteu Peredur a gerda6d racda6. Ac ar vynyd y 6rtha6 ef a 6elei gastell, a pharth ac yno y deuth. A gwan y porth a oruc ae 6ae6. Ar hynny llyma was gwineu teledi6 yn agori y porth, a meint mil6r ynda6, ae oedran mab arna6. A phan deuth Peredur yr neuad, yd oed g6reic va6r deledi6 yn eisted y my6n kadeir. A llawuorynyon yn amyl yn y chylch. A llawen uu y wreic da 6rtha6. A phan vu amser gantaunt, mynet y v6yta a orugant. G6edy daruot b6yta: 'Da oed yti, vnben,' heb hi 'vynet y gyscu y le arall.' 'Pony cha6n gyscu yma?' heb y Peredur. 'Na6 g6idon, eneit, yssyd yma o widonot Kae[r]loy6, ae tat ae mam gyt ac wynt. Ac nyt nes an dianc ni erbyn y dyd noc udunt yn llad. Ac neur der6 udunt goresgyn y kyuoeth ae diffeitha6, onyt yr vnty h6nn.' 'Ieu,' heb y Peredur 'yma y byd6n heno. Ac os gofut a daw arna6ch, os gallaf les, mi ae g6naf, afles nys g6naf ynneu.' Ac y gyscu yd aethant.

**34.** Ac ygyt ar dyd Peredur a glywei diaspat engirya6l. A chyuodi yn gyflym a oruc Peredur oe grys ae la6dyr, ae gledyf am y vyn6gyl. Ac allan y doeth. Sef y g6elei g6idon yn ymordiwes a g6ill6r, ac ynteu yn diaspedeit. Peredur a gyrchwys y widon, ac ae trewis a chledyf ar y phenn, yny leda6d yr helym

ae phenffestin ual dyscyl ar y phenn. 'Dy na6d, Peredur, dec uab Efra6c, a na6d Du6!' 'Paham, wrach, y g[6]ydost di mae Peredur 6yf i?' 'Tyghetuen a g6eledigaeth ymodef gofut y gennyt. Ac y titheu kymryt march ac arueu y genyf ynneu. Ac ygyt a mi y bydy yn dyscu marchogaeth a theimla6 dy arueu.' 'Val hynn' heb y Peredur 'y keffy na6d. Dy gret, na wnelych gam byth ygkyuoeth y iarlles.' Kedernyt ar hynny a gymerth Peredur, a chan ganyat y iarlles kych6yn ygyt ar widon y lys y g6idonot. Ac yno y bu ef teir wythnos ar vn tu. Ac yna dewis y uarch ae arueu. A chy[ch]6ynnu racda6.

**35.** A diwedyd ef a doeth y dyffrynn. Ac yn diben y dyffrynn ef a doeth y gudygyl meudwy. A llawen uu y meudwy 6rtha6. Ac yno y bu ef y nos hono. Trannoeth y bore ef a gyfodes odyno. A phan deuth allan, yd oed gawat o eiry g6edy ryodi y nos gynt. A g6alch wyllt wedy llad h6yat yn tal y kudugyl. A chan d6ryf y march kilya6 or walch, a disgyn bran ar gic yr ederyn. Sef a oruc Peredur seuyll, a chyffelybu duet y vran, a gwynder yr eiry, a chochter y g6aet y wallt y wreic u6yaf a garei, a oed kyn duhet ar muchud, ae chna6t oed kyn wynnet ar eiry, a chochter y g6aet yn yr eiry yr deu vann gochyon oed yn y grudyeu.

**36.** Ar hynny yd oed Arthur ae deulu yn keissa6 Peredur. 'A wda6ch ch6i,' heb yr Arthur 'p6y y marcha6c paladyrhir a seif yn y nant uchot?' 'Argl6yd,' heb un 'mi a af y wybot pa vn y6.' Yna y doeth y mack6y hyt y lle yd oed Peredur. A gofyn idaw, beth a wnaei ef uelly, a ph6y oed. Ac rac meint med6l Peredur ar y wreic v6yaf a garei, ny rodes atteb ida6. Sef a oruc ynteu gossot a g6aew ar Peredur. Ac ynteu Peredur a ymchoela6d ar y mack6y, ac ae g6ant dros bedrein y uarch yr lla6r. Ac yn ol ef a doeth pedwar mack6y ar hugeint attaw. Ac nyt attebei yr vn m6y noe gilyd, namyn yr ung6are a phob un, y wan ar ungossot yn lla6r. Ynteu Gei a deuth atta6 ef. Ac a dywa6t yn disgethrin anhegar 6rth Peredur. A Pheredur ae kymerth a g6ae6 y dan y d6y en, ac ae byrywys ergyt y 6rtha6, yny dorres y vreich a g6aell y ysg6yd. A marchogaeth vnweith ar hugeint

drosta6. Ac ual yd oed yn y uar6lewic rac meint y dolur a ga6ssei, yd ymhoela6d y uarch, a thuth garw ganta6 gra6th. A phan welsant y teulu y march yn dyuot heb y g6r arna6, y kych6ynnasant ar vrys parth ar lle y buassei y gyfranc. A phan deuthant yno, tybygu rylad Kei. Wynt a welsant hagen, or kaffei vedic da, y bydei byw. Ny symuda6d Peredur y ved6l m6y no chynt yr g6elet y pennyal a oed am benn Kei. Ac y deuthp6yt a Chei hyt ym pebyll Arthur. Ac y peris Arthur d6yn medygon kywreint atta6. Dr6c uu gan Arthur kyfaruot a Chei y gofut h6nn6, kanys ma6r y karei.

**37.** Ac yna y dywa6t Galchmei: 'Ny dylyei neb kyffroi marcha6c urda6l y ar y med6l y bei arna6 yn agkyfuartal. Kanys acattoed ae collet ar dathoed yda6, ae ynteu yn medylya6 am y wreic v6yhaf a garei. Ar agkyuartal6ch h6nn6 acattuyd gyuaruu ar g6r a ymwelas ac ef yn diwethaf. Ac or byd da gennyt ti, argl6yd, miui a af y edrych, a symuda6d y marcha6c y ar y med6l h6nn6. Ac os uelly y byd, mi a archaf ida6 yn hygar dyuot y ymwelet a thi.' Ac yna y sorres Kei, ac y dywa6t geireu dic kenuigennus. 'G6alchmei,' heb ef 'hyspys yw gennyf i, y deuy di ac ef herwyd y av6yneu. Clot bychan hagen ac etmyc y6 ytt, oruot y marcha6c lludedic g6edy blina6 yn ymlad. Velly hagen y goruuost di ar lawer onadunt 6y. A chyt tra barhao gennyt ti daua6t ath eireu tec, diga6n vyd itt o arueu peis o vliant teneu ymdanat. Ac ny byd reit itt torri na g6ae6 na chledyf yr ymlad ar marcha6c a geffych yn yr ansa6d honno.' Ac yna y dywawt G6alchmei 6rth Gei: 'Ti a allut dywedut a uei hygarach, pei as mynhut, ac nyt arnaf i y perthyn itti dial dy lit ath digyoveint. Tebic y6 gennyf i hagen, y dygaf i y marcha6c gyt a mi heb torri na breich nac ysg6yd y mi.' Yna y dywa6t Arthur wrth Walchmei: 'Mal doeth a ph6yllic y dywedy di, a dos ditheu ragot, a chymer diga6n o arueu ymdanat, a dewis dy uarch.' G6isga6 a wnaeth Gwalchmei ymdanaw, a cherdet racda6 yn chweric ar gam y varch parth ar lle yd oed Peredur.

**38.** Ac yd oed ynteu yn gorffowys 6rth paladyr y wae6, ac yn medylya6 yr vn med6l. Dyuot a 6naeth G6alchmei atta6

heb ar6yd creulonder ganta6, a dywedut 6rtha6: ‘Pei g6yp6n vot yn da gennyt ti, mal y mae da gennyf i, mi a ymdidan6n a thi. Eissoes negessa6l wyf i y gan Arthur attat, y atol6yn itt, dyuot y ymwelet ac ef. A deu 6r a doeth kyn no mi ar y neges honno.’ ‘G6ir y6 hynny,’ heb y Peredur ‘ac anhygar y doethant. Ymlad a wnaethant a mi, ac nyt oed da gennyf ynneu hynny, gyt ac nat oed da gennyf, vyn d6yn y ar y med6l yd oed6n arna6. Yn medylya6 yd oed6n am y wreic u6yhaf a gar6n. Sef acha6s y doeth cof im hynny. Yn edrych yd oed6n ar y[r] eira, ac ar y uran, ac ar y dafneu o waet yr h6yat a ladyssei y walch yn yr eira. Ac yn medylya6 yd oed6n bot yn gynhebic g6ynder [y chnawt] yr eira, a duhet y g6allt ae haeleu yr uran, ar deu vann gochyon a oed yn y grudyeu yr deu dafyn waet.’ Heb y G6alchmei: ‘Nyt oed anuonhedigeid y med6l h6nn6, a diryued oed kynny bei da gennyt dy d6yn y arna6.’ Heb y Peredur: ‘A dywedy di y mi, a ytti6 Kei yn llys Arthur?’ ‘Ytti6’ heb ynteu. ‘Ef oed y marcha6c diwethaf a ymwana6d a thi. Ac ny bu da y doeth ida6 yr ymwan h6nn6. Torri a wnaeth y vreich deheu ida6, a g6ahell y ysk6yd gan y k6ymp a gauas o 6th dy paladyr di.’ ‘Ie,’ heb y Peredur ‘nym ta6r dechreu dial sarhaet y corr ar gorres velly.’ Sef a 6naeth G6alchmei enryuedu y glybot yn dywedut am y corr ar gorres. A dynessau atta6, a mynet d6yla6 myn6gyl ida6, a govyn, p6y oed y en6. ‘Peredur uab Efra6c ym gelwir i’ heb ef. ‘A thitheu p6y 6yt?’ ‘G6alchmei ym gelwir i’ heb ynteu. ‘Da y6 gennyf dy welet’ heb y Peredur. ‘Dy glot vy giglef ym pob gwlat or y bum o vilwryaeth a chywirdeb. Ath gedymdeithas yssyd adol6yn gennyf y gaffel.’ ‘Keffy, myn vygcret, a dyro ditheu y mi y teu.’ ‘Ti a geffy yn llawen’ heb y Peredur.

**39.** Kych6yn a wnaethant ygyt yn hyfryt gyttuun parth ar lle yd oed Arthur. A phan gigleu Gei eu bot yn dyuot, ef a dywa6t: ‘Mi a wyd6n, na bydei reit y Walchmei ymlad ar marcha6c, a diryuad y6 ida6 caffel clot. M6y a wna ef oe eireu tec no nini o nerth an harveu.’ A mynet a wnaeth Peredur a G6alchmei hyt yn lluest Walchmei y diot eu harueu. A chymryt a oruc

39. 3 *Gei* MS.

Peredur y ryw wisc ac a oed y Walchmei. A mynet a wnaethant la6 yn lla6 hyt y lle yd oed Arthur. A chyuarch g6ell ida6. ‘Llyma, arglwyd,’ heb y G6alchmei ‘y g6r y buost yr ystalym o amser yn y geissa6.’ ‘Graessa6 6rthyt, unbenn,’ heb yr Arthur ‘a chyt a mi y trigyy, a phei g6ypwn vot dy gynnyd ual y bu, nyt aut y 6rthyf i pann aethost. H6nn hagen a darogan6ys y corr ar gorres itt, a uu dr6c Kei 6rthunt, a thitheu ae dieleist.’ Ac ar hynny nachaf y vrenhines ae lla6vorynyon yn dyuot. A chyvarch gwell a wnaeth Peredur udunt. A lla6en uuant 6ynteu 6rtha6 ae ressa6u a orugant. Parch ac enryded ma6r a wnaeth Arthur am Peredur. Ac ymchoelut a orugant parth a Chaerllion.

**40.** Ar nos gyntaf y deuth Peredur y Gaerllion y lys Arthur. Ac yd yttoed yn troi yn y gaer wedy b6yt, nachaf Ygharat La6 Eura6c yn kyuaruot ac ef. ‘Myn vygkret, vy chwaer,’ heb y Peredur ‘morwyn hygar garueid wyt, a mi a all6n arnaf dy garu yn v6yhaf g6reic, pei da gennyt.’ ‘Miui a rodaf vygcret’ heb hi ‘val hynn: na charaf i dydi, ac nath vynnaf yn dragywyda6l.’ ‘Minneu a rodaf vygcret,’ heb y Peredur ‘na dywedaf ynneu ei[r] byth 6rth grista6n, yny adeuych ditheu arnat vygcaru i yn v6yhaf g6r.’

**41.** Trannoeth ef a gerdawd Peredur ymeith, ar prifford ar hyt keuyn mynyd ma6r a dilyn6ys. Ac ar dibenn y mynyd ef a welei dyffryn cr6nn. A gororeu y dyffryn yn goeda6c carrecga6c, a g6astat y dyffrynn oed yn weirglodyeu, ac yn dired ar y r6ng y gweirglodyeu ar coet. Ac ym mynn6es y coet y gwelei tei duon, ma6r anuana6l eu g6eith. A disgynnu a wnaet[h] ac arwein y varch tu ar coet. Ac am talym or coet ef a welei ochyr carreclem, ar fford yn kyrchu ochyr y garrec, a llew yn r6ym 6rth gadwyn ac yn kyscu ar ochyr y garrec. A ph6ll d6fynn athrugar y veint a welei dan y lle6, ae loneit ynda6 o esgyrn dynyon ac aniueileit. A thynny cledyf a wnaeth Peredur, a thara6 y llew, yny dyg6yd yn dibin 6rth y gadwyn vch penn y p6ll. Ac ar yr eil dyrna6t tara6 y gad6yn a oruc, yny tyrr, ac yny dyg6yd y llew yn y p6ll. Ac ar tra6s ochyr y garec ar6ein y varch a oruc Peredur, yny doeth yr dyffrynn.

**42.** Ac ef a welei am gana6l y dyffrynn castell tec. A thu ar castell y deuth. Ac ar y weirgla6d 6rth y castell ef a welei g6r ll6yt ma6r yn eisted. M6y oed no gwr or a welsei eiryoet. A deu was ieueinc yn saethu. Karneu eu kylleill o asg6rn moruil. Y neill ohonunt yn was g6ineu, ar llall yn was melyn. A dyuot racda6 a wnaeth hyt y lle yd oed y g6r llwyt. A chyvarch gwell a oruc Peredur ida6. Ar g6r llwyt a dywa6t: 'Mevyl ar varyf vym portha6r!' Ac yna y dyalla6d Peredur, pan y6 y lle6 oed y portha6r. Ac yna y daeth y g6r ll6yt ar g6eisson gyt ac ef yr castell. Ac y daet[h] Peredur gyt ac 6y, a lle tec enrydedus a welei ef yno. Ar neuad a gyrchassant. Ar byrdeu oed g6edy eu dyrchauel, a b6yt a llynn yn didla6t arnadunt. Ac ar hyny ef a welei yn dyuot or ystauell g6reic ohen a g6reic ieuanc. A m6yhaf g6raged or a welsei eiryoet oedynt. Ac ymolchi a orugant, a mynet y v6ytta. Ar g6r ll6yt a aeth y benn y b6rd yn uchaf, ar wreic ohen yn nessaf ida6. A Pheredur ar uor6yn a dodet ygyt. Ar deu was ieueinc yn g6assanaethu arnadunt. Ac edrych a wnaeth y uor6yn ar Peredur, a thristau. A govyn a oruc Peredur yr vor6yn, paham yd oed trist. 'Tydi, eneit, yr pann yth weleis gyntaf a gereis yn v6yhaf g6r. A thost y6 gennyf welet ar was kyn uonhedicket a thi, y dihenyd a vyd arnat auory. A weleist ti y tei duon llawer ym bronn y coet? G6yr y6 y rei hynny ym tat i oll y g6r llwyt racko, a chewri ynt oll. Ac avory wynt a dygyforant am dy penn ac ath ladant. Ar Dyffryn Cr6nn y gelwir y dyffryn h6nn.' 'Oia, uorwyn dec, a bery di bot vym march i am arueu yn vn lletty a mi heno?' 'Paraf yrof i a Du6, os gallaf, yn llawen.'

**43.** Pan vu amserach gantunt kymrut hun no chyuedach, y gysgu yd aethant. Ar uor6yn a beris bot march Peredur ae arueu yn vn lletty ac ef. A thrannoeth Peredur a glywei gordyar g6yr a meirch ygkylch y castell. A Pheredur a gyuodes, ac a wisga6d y arueu ymdana6 ac ymdan y uarch, ac ef a deuth yr weirgla6d. Ac y deuth y wreic hen ar uor6yn att y g6r ll6yt. 'Argl6yd,' heb h6y 'kymer gret y mack6y na dywetto dim or a 6elas yman. A ni a vyd6n drosta6 y keid6.' 'Na chymeraf, myn vygkret!' heb y g6r ll6yt. Ac ymlad a wnaeth

Peredur ar llu. Ac erbyn echwyd neur daroed ida6 llad trayan y llu heb argywedu neb arna6 ef. Ac yna y dywa6t y wreic ohen: 'Neur der6 yr mack6y llad llawer oth lu, a dyro na6d ida6.' 'Na rodaf, myn vygcret!' heb yr ynteu.

**44.** Ar wreic ohen ar uor6yn dec y ar v6lch y gaer yd oedynt yn edrych. Ac yn hynny ymgyvaruot o Peredur ar g6as melyn, ae lad. 'Argl6yd,' heb y uor6yn 'dyro na6d yr mack6y!' 'Na rodaf yrof i a Du6!' heb y g6r ll6yt. Ac ar hynny ymgyvaruot o Peredur ar g6as g6ineu, ae lad. 'Buassei well itti, pei rodassut na6d yr mack6y, kynn llad dy deu uab ohona6, ac abreid vydy titheu dy hun or dihegy.' 'Dos ditheu, vor6yn, ac adol6yn yr mack6y rodi na6d ynni, kannys rodassam ni idaw ef.' Ar vor6yn a doeth yr lle yd oed Peredur. Ac erchi na6d y that a oruc, ac yr sawl a dihagyssei oe wyr yn vy6. 'Keffy dan amot mynet oth tat a pha6b or yssyd y danaw, y 6rhau yr amhera6dyr Arthur, ac y dywedut ida6, pan y6 Peredur g6r ida6 a wnaeth y g6assanaeth h6nn.' 'G6na6n yrof i a Du6 yn llawen.' 'A chymryt bedyd ohona6ch. A minneu a anuonaf att Arthur, y erchi ida6 rodi y dyffrynn honn ytti ac yth ettiued byth gwedy ti.' Ac yna y doethant y my6n. A chyuarch g6ell a wnaeth y g6r ll6yt ar wreic vawr y Peredur. Ac yna y dywa6t y g6r ll6yt: 'Yr pan yttwyf ynn medu y dyffrynn h6nn, mi ny weleis grista6n a elei ae eneit ganta6 namyn ti. A ninne a a6n i wrhau y Arthur, ac y gymryt cret a bedyd.' Ac yna y dywa6t Peredur: 'Diolchaf ynneu y Du6, na thorreis vy ll6 6rth y wreic v6yhaf a garaf, na dywed6n un geir 6rth grista6n.' Trigya6 yno a 6naethant y nos honno.

**45.** Trannoeth y bore yd aeth y g6r ll6yt ae niuer ganta6 y lys Arthur. Ac y g6rhayssant y Arthur. Ac y para6d Arthur eu bedydya6. Ac y dywa6t y g6r ll6yt y Arthur, pan y6 Peredur ae goruuassei. Ac Arthur a rodes yr g6r ll6yt ae niuer y dyffryn oe gynnal y danaw ef, mal yd erchis Peredur. A chan gennat Arthur y g6r ll6yt a aeth ymeith parth ar Dyffryn Cr6nn.

**46.** Peredur ynteu a gerda6d y bore drannoeth racda6 talym ma6r o diffeith, heb gaffel kyuanned. Ac yn y diwed ef a doeth y gyuanned bychann amdla6t. Ac yno y clywei uot

sarff yn gorwed ar uodr6y eur, heb adel kyuanned seith milltir o bop parth idi. Ac yd aeth Peredur yr lle y clywei vot y sarff. Ac ymlad a wnaeth ar sarff yn llidyawc drut ffenedic-ualch. Ac yn y diwed y llada6d, ac y kymerth y votr6y ida6 ehun. Ac uelly y bu ef yn hir yn yr agherdet h6nn6, heb dywedut vn geir 6rth neb ry6 grista6n. Ac o hynny yd yttoed yn kolli y li6 ae wed o drahiraeth yn ol llys Arthur, ar wreic v6yaf a garei, ae gedymdeithon.

**47.** Odyna y kerda6d racda6 y lys Arthur. Ac ar y ffordd y kyfaruu ac ef deulu Arthur. A Chei yn eu blaen yn mynet y neges udunt. Peredur a adwaenat ba6p onadunt, ac nyt ad-wae[ne]y neb or teulu euo. 'Pan deuy di, vnbenn?' heb y Kei, a d6yweith a their. Ac nyt attebei ef. Y wan a oruc Kei, a g6ae6 tr6y y uord6yt. Ac rac kymell arna6 dywedut a thorri y gret, mynet heibya6 a oruc heb ymattiala ac ef. Ac yna y dywa6t G6alchmei: 'Yrof i a Du6, Gei, dr6c y medreist kyflauan ar uack6y ual h6nn yr na allei dywedut.' Ac ymchoelut drae geuyn y lys Arthur. 'Argl6ydes,' heb ef 6rth Wenh6yuar 'a wely di drycket y gyflauan a oruc Kei ar y mack6y h6nn yr na allei dywedut? Ac yr Du6 ac yrof ynneu, par di y uedeg-inyaethu ef erbyn pan del6yf drachefyn. A mi a dalaf y p6yth itt.' A chynn dyuot y g6yr oc eu neges, ef a deuth marcha6c yr weirgla6d y ymyl llys Arthur, y erchi gwr y ymwan. A hynny a gauas. A b6r6 h6nn6 a wnaeth Peredur, ac wythnos y bu yn b6r6 marcha6c beunyd.

**48.** A diwarna6t yd oed Arthur ae teulu yn dyuot yr egl6ys. Sef y gwelynt marcha6c g6edy dyrchauel ar6yd ymwan. 'Ha wyr,' heb yr Arthur 'myn g6rhyt g6yr, nyt af odyma, yny gaffwyf vy march am arueu y v6r6 y iangh6r racko.' Yna yd aeth g6eisson yn ol y uarch ae arueu y Arthur. A Pheredur a gyfaruu ar gweisson yn mynet heiba6, ac a gymerth y march ar arueu, ar weirgla6d a gyrcha6d. Sef a wnaeth pa6p oe welet ef yn kyuodi ac yn mynet y ymwan yr marcha6c mynet ar benn y tei ar brynneu ar lle aruchel, y edrych ar yr ymwan. Sef a wnaeth Peredur emneida6 ae la6 ar y marcha6c, y erchi ida6 dechreu arna6. Ar marcha6c a ossodes arna6. Ac nyt ysgoges

ef or lle yr hynny. Ac ynteu Peredur a ordinhaa6d ac ae kyrcha6d yn llitya6c drut engirya6l chwer6 awydualch. Ac ae g6ant dyrna6t g6en6yniclym tost drut mil6ryeid ffyryf y dan y d6y en, ae drychauel oe gyfr6y, ae v6r6 ergit ma6r y 6rtha6. Ac yd ymchoela6d dracheuyn, ac yd edewis y march ar arueu gan y gweisson mal kynt. Ac ynteu ar y draet a gyrcha6d y llys.

**49.** Ar Mack6y Mut y gelwit Peredur yna. Ar hynny nachaf Angharat Law Eura6c yn kyuarfot ac ef. 'Yrof i a Du6, unbenn,' heb hi 'ys oed gryssyn na allut dywedut. A phei gallut dywedut, mi ath gar6n yn v6yhaf g6r. Ac myn vygcret, kyn nys gellych, mi ath garaf yn v6yhaf g6r.' 'Du6 a talo itt, vygwhaer,' heb y Peredur 'ar myn vygcret, minneu ath garaf di.' Ac yna g6ybuwyt pan y6 Peredur oed ef. Ac yna y delis ef gedymdeithas a G6alchmei, ac ac Owein vab Uryen, ac a pha6b or teulu, ac y trigywys yn llys Arthur.

**50.** Arthur a oed ygKaerllion ar Wysc. A mynet a wnaeth y hela. A Pheredur a ellyga6d y gi ar hyd, ar ki a lada6d yr hyd y my6n diffeith6ch. Ac ym penn ruthur y 6rtha6 ef a welei arwyd kyuanhed. A thu ar kyfanhed y deuth. Ac ef a welei neuad. Ac ar dr6s y neuad ef a welei tri g6eis moel gethinyon yn g6are g6ydb6yll. A phan deuth y my6n, ef a welei teir mor6yn yn eisted ar leithic. Ac vn ry6 wisc oed ymdanunt ual y dylyei am dylyedogyon. Ac ef a aeth y eisted attunt yr lleithic. Ac vn or mor6ynyon a edrycha6d ar Peredur yn graff, ac wyla6 a wnaeth. A Pheredur a ovynna6d idi, beth a wylei. 'Rac drycket gennyf g6elet lleassu g6as kyn decket a thi.' 'Pwy am lleassei i?' heb y Peredur. 'Pei ualrihyt ytt arhos yn y lle hwnn, mi ae dywed6n itt.' 'Yr meint uo y g6rthret arnaf yn arhos, mi ae g6arandawaf.' 'Y g6r yssyd tat y mi' heb y uor6yn 'bieu y llys honn. A hwnnw a lad pa6b or a del yr llys honn heb y ganhyat.' 'Pa gyfry6 6r y6 a6ch tat ch6i, pan allo lleassu pa6b uelly?' 'G6r a wna treis ac anuod ar y gymodogyon. Ac ny wna iawn i neb amdana6.' Ac yna y gwelei ef y g6eisson yn kyuodi ac yn arll6yssa6 y cla6r or werin. Ac ef a glywei d6ryf ma6r. Ac yn ol y t6ryf ef a 6elei wr du

ma6r unllygeita6c yn dyuot y my6n. Ar morynyon a gyuodassant yn y erbyn, a diot y wisc y amdana6 a wnaethant. Ac ynteu a aet[h] y eisted. A g6edy dyuot y b6yll idaw ac aryfhau edrych a oruc ar Peredur, a gouyn, p6y y marcha6c. 'Argl6yd,' heb yr vn or morynyon 'y g6as ieuanc teckaf a bonhedickaf or a weleist eiryoet. Ac yr Du6 ac yr dy syber6yt, p6ylla 6rtha6!' 'Yrot ti mi a b6yllaf ac a rodaf y eneit ida6 heno.'

**51.** Ac yna Peredur a daeth attunt 6rth y tan, ac a gymerth b6yt a llynn. Ac ymdidan ar rianed a oruc. Ac yna y dywa6t Peredur g6edy y vrwysca6 6rth y g6r du: 'Ryued y6 gennyf kadarnet y dywedy di dy uot. P6y a diodes dy lygat ti?' 'Un om kennedueu oed,' heb y g6r du 'pwy bynnac a ovynhei i mi yr hynn yd 6yt ti yn y ouyn, ny chaffei y eneit gennyf nac yn rat nac ar werth.' 'Argl6yd,' heb y uor6yn 'kyt dywetto ef overed o vr6ysged a meda6t parth ac attat ti, kywirha y geir a dywedeist gynneu ac a edeweist 6rthyf i.' 'A minheu a wnaf hynny yn llawen yrot ti,' heb y g6r du. 'Mi a adaf y eneit ida6 yn lla6en heno.' Ac ar hynny y trigyassant y nos honno.

**52.** A thrannoeth kyuodi a oruc y g6r du, a gwisca6 arueu ymdana6. Ac erchi Peredur: 'Kyuot, dyn, y uynyd y diodef agheu' heb y g6r du. Peredur a dywa6t 6rtha6: 'G6na y neill peth, y g6r du. Os ymlad a vynny a mi, ae diot dy arueu y ymdanat, ae titheu a rodo arueu ereill y minneu y ymlad a thi.' 'Ha, dyn,' heb ef 'ae ymlad a allut ti, pei kaffut arueu? Kymer yr arueu a vynnych.' Ac ar hynny y doeth y uorwyn ac arueu y Peredur a oed hoff gantaw. Ae ymlad a wnaeth ar gwr du, yny uu reit yr gwr du erchi nawd y Peredur. 'Y gwr du, ti a geffy nawd, tra uych yn dywedut ym puy wyt, a phwy a tynnawd dy lygat.'

**53.** 'Argl6yd, minhe ae diwedaf. Yn ymlad ar pryf du or garn. Cruc yssyd a el6ir y Cruc Galarus. Ac yn y cruc y mae karn, ac yn y garn y mae pryf, ac yn llosc6rn y pryf y mae maen, a rinn6edeu y maen ynt, p6y bynnac ae kaffei yn y neill la6, a uynnei o eur ef ae kaffei ar y lla6 arall ida6. Ac yn ymlad ar pryf h6nn6 y kolleis i vy llygat. Am hen6

ynneu y6 y Du Traha6c. Sef acha6s ym gelwit y Du Traha6c, ny ad6n un dyn ym kylch nys treiss6n, a ia6n nys g6na6n y neb.' 'Ie,' heb y Peredur 'py gybellet odyma y6 y cruc a dywedy di?' 'Mi a rifaf itt ymdeitheu hyt yno, ac a dywedaf itt, py gybellet yw. Y dyd y kych6ynnych odyma, ti a doy y lys meibon y Brenhin y Diodevueynt.' 'Paham y gel6ir 6ynt uelly?' 'Adanc llynn ae llad wynt beuny[d] unweith. Pan delych odyno, ti a deuy hyt yn llys Iarlles y Kampeu.' 'Py gampeu' heb y Peredur 'yssyd erni hi?' 'Trychanwr teulu yssyd idi. Pob g6r dieithyr or a del yr llys, ef a dywedir ida6 campeu y theulu. Sef acha6s y6 hynny. Y trychannwr teulu a eisted yn nessaf yr argl6ydes, ac nyt yr amharch yr g6esteion, namyn yr dy6edut kampeu y theulu. Y dyd y kych6ynnych odyno ti a ey y Gruc Galarus. Ac yno y maent perchen trychant pebyll ygkylch y cruc yn kadw y pryf.' 'Can buost' heb y Peredur 'yn ormes yn gyhyt a hynny, mi a 6naf na bych byth bellach.' Ae lad a wnaeth Peredur ida6.

**54.** Ac yna y dywa6t y uor6yn a dechreuassei ymdidan ac ef: 'Bei bydut tla6t yn dyuot yma, kyuoetha6c vydut bellach o drysor y g6r du a ledeist. A thi a wely y sawl uorynyon hygar yssyd yn y llys honn. Ti a gaffut orderchat ar yr un a vynnut onadunt.' 'Ny deuthum i yma om g6lat, arglwydes, yr gwreicka. Namyn gweisson hegar a welaf yna, ymgeffylybet ba6p ohonawch ae gilyd mal y mynno. A dim oc a6ch da nys mynnaf, ac nyt reit ym wrthaw.' Odyna y kychwynya6d Peredur racdaw. Ac y deuth y lys meibon Brenhin y Diodeiueint. A phann deuth yr llys, ny welei namyn gwraged. Ar gwraged a gyuodassant racda6, ac a vuant lawen 6rtha6. Ac ar dechreu eu hymdidan ef a welei varch yn dyuot, a chyfrwy arnaw, a chelein yn y kyfrwy. Ac un or gwraged a gyuodes y uynyd, ac a gymerth y gelein or kyfrwy, ac ae heneinawd y my6n [kawc] a oed isla6 y dr6s, a d6fyr t6ym yndi. Ac a dodes eli g6erthua6r arna6. Ar g6r a gyuodes yn vy6, ac a deuth yr lle yd oed Peredur, ae raessawu a oruc, a bot yn llawen

54. 11 *vuuant* MS. 13 *y yuynyd* MS.

6rtha6. A deu 6r ereill a doethant y my6n yn eu kyfrwyeu. Ar un dy6ygyat a 6naeth y uorwyn yr deu hynny ac yr vn gynt. Yna y govynna6d Peredur yr vnbenn, paham yd oedynt uelly. Ac 6ynteu a dywedassant, bot adanc my6n gogof, a h6nn6 ae lladei 6y un6eith beunyd. Ac ar hynny y trigyassant y nos honno.

**55.** A thrannoeth y kyuodes y mack6yeit racdunt. Ac yd erchis Peredur yr m6yn eu gordercheu, y adel gyt ac 6ynt. Ac wynteu ae gomedassant, a dywedut: ‘Pei ath ledit ti yno, nyt oed itt ath wnelei yn vyw dracheuyn.’ Ac yna y kerdassant wy racdunt. Ac y kerda6d Peredur yn eu hol. A g6edy eu difflannu wy hyt nas g6elei ef, yna y kyuaruu ac ef yn eisted ar benn cruc y wreic deckaf or a welsei eiryoet. ‘Mi a 6n dy hynt,’ heb hi. ‘Mynet yd wyt y ymlad ar adanc, ac ef ath lad, ac nyt oe dewred, namyn oe ystry6. Gogof yssyd ida6, a philer maen yssyd ar drws yr ogof. Ac ef a wyl pa6b or a del y my6n, ac nys g6yl neb euo. Ac a llechwae6 g6ennwynic o gysga6t y piler y llad ef bawp. A phei rodut ti dy gret, vygcaru i yn v6yhaf g6reic, mi a rod6n itt uaen, ual y g6elut euo, pan elut y my6n, ac ny welei ef dydi.’ ‘Rodaf, myn vygkret!’ heb y Peredur. ‘Yr pan yth weleis gyntaf, mi ath gereis. A pha le y keiss6n i dydi?’ ‘Pan geissych di vyui, keis parth ar India.’ Ac yna y difflann6ys y uor6yn ymeith g6edy rodi y maen yn llaw Peredur.

**56.** Ac ynteu a deuth racda6 parth a dyffrynn auon, a gororeu y dyffryn oed yn goet. Ac o pob parth yr auon yn weirglodyeu g6astat. Ac or neill parth yr avon y gwelei kad6 o deueit g6ynyon, ac or parth arall y g6elei cad6 o deueit duon. Ac ual y breuei vn or deueit g6ynnyon, y deuei vn or deueit duon dr6od, ac y bydei yn wenn. Ac ual y breuei vn or deueit duon, y deuei vn or deueit g6ynnyon dr6od, ac y bydei yn du. A phrenn hir a welei ar lann yr auon. Ar neill hanner a oed idaw yn llosci or gwreid hyt y ulaen, ar hanner arall a deil ir arna6, ac uchla6 hynny y g6elei mack6y yn eisted ar benn cruc. A deu vilgi vronnwynnyon vrychyon my6n kynllyuaneu yn gvor6ed geyr y la6. A diheu oed ganta6, na

welsei eiryoet mack6y kyn deyrneidet ac ef. Ac yn y coet gyfar6yneb ac ef y clywei ellg6n yn kyuodi hydgant. A chyuarch g6ell a wnaeth yr mack6y, ar mack6y a gyuarcha6d well y Peredur. A their fford a welei Peredur yn mynet y 6rth y cruc. Y d6y fford yn va6r, ar dryded yn llei. A govyn a oruc Peredur, pa le yd aei y teir fford. 'Vn or ffyrd hynn a a ym llys i. Ac un or deu a gyghoraf i ytti, ae mynet yr llys or blaen att vygg6reic i yssyd yno, ae titheu a arhoych yma, a thi a wely y gellg6n yn kymell yr hydot blin or coet yr maes. A thi a wely y milg6n goreu or a weleist eiryoet, a gle6haf ar hydot, yn eu llad ar y d6fyr geyr an llaw. A phan uo amser ynn vynet yn b6yt, ef a da6 vygg6as am march ym herbyn, a thi a geffy lewenyd yno heno.' 'Du6 a diolcho itt! Ny thrigyaf i, namyn ragof yd af.' 'Y neill fford a a yr ddinas yssyd yma yn agos. Ac yn hwnn6 y keffir b6yt a llynn ar werth. Ar fford yssyd lei nor rei ereill a a parth a gogof yr adanc.' 'Can dy ganhyat, vack6y, parth ac yno yd af i.'

**57.** A dyuot a wnaeth Peredur parth ar ogof, a chymryt y maen yn y lla6 asseu, ae wae6 yn y lla6 deheu. Ac ual y da6 y my6n, arganuot yr adanc a wnaeth, ae wan a g6ae6 tr6yda6, a llad y benn. A phan da6 y maes or ogof, nachaf yn dr6s yr ogof y tri chedymdeith. A chyuarch gwell a wnaethant y Peredur, a dywedut, pan y6 ida6 yd oed darogan llad yr ormes honno. A rodi y penn a wnaeth Peredur yr mack6yeit. A chynnic a wnaethant wynteu ida6 yr vn a vynnynt oe teir chwioryd yn bria6t, a hanner eu brenhinyaeth ygyt a hi. 'Ny deuthum i yma yr g6reika,' heb y Peredur 'a phei mynn6n un wreic, acatuyd awch h[w]aer chwi a vynn6n yn gynntaf.' A cherdet racda6 a wnaeth Peredur. Ac ef a glywei t6r6f yn y ol. Ac edrych a wnaeth ynteu ynn ol. Ac ef a welei g6r ar gevyn march coch, ac arueu cochyon ymdana6. Ar gwr a deuth ar ogyvuch ac ef. A chyuarch g6ell a wnaeth y Peredur o Du6 ac o dyn. Ac ynteu Peredur a gyuarcha6d g6ell yr mack6y yn garedic. 'Argl6yd, dyuot y erchi itti yd 6yf i.' 'Beth a erchy di?' heb y Peredur. 'Vygkymryt yn 6r itt.' 'P6y a gymer6n ynneu yn 6r, pei ath gymer6n?' 'Ny chelaf vygkyst-

l6n ragot. Etlym Gledyf Coch ym gelwir, iarll o Ystlys y D6yrein.' 'Ryued y6 gennyf i, ymgynnic ohonat yn 6r y 6r ny bo m6y o gyuoeth no thi. Nyt oes y minneu namyn iarllaeth arall. A chanys g6i6 gennyt ti dyuot yn 6r y mi, mi ath gymeraf yn llawen.'

**58.** Ac y doethant parth a llys y iarlles. A llawen vuwyt 6rthunt yn y llys, a dywedut 6rthunt a wnaethp6yt, nat yr amarch arnunt y dodit isla6 y teulu, namyn kynnedyf y llys a oed y velly. Kanys y neb a vyryei y thrychann6r teulu hi, b6yta a gaffei yn nessaf idi, a hi ae carei yn vwyhaf g6r. A g6edy y b6r6 o Peredur y thrychann6r teulu yr lla6r, ac eisted ar y neill la6, y dywa6t y iarlles: 'Y diolchaf y Du6, kaffel g6as kyn decket a chyn dewret a thi, kan ny cheueis y g6r m6yhaf a gar6n.' 'P6y oed y g6r m6yhaf a garut titheu?' 'Myn vygcret, Etlym Gledyf Coch oed y g6r m6yhaf a gar6n i. Ac nys g6eleis eiryoet.' 'Dioer,' heb ef 'kedymdeith y mi y6 Etlym, a llyma evo, ac yr y v6yn ef y deuthum i y chware ath teulu di. Ac euo ae gallei yn well no myvi, pei as mynnei. A minneu ath rodaf di idaw ef.' 'Du6 a diolcho y titheu, uack6y tec, a minneu a gymeraf y g6r m6yaf a garaf.' Ar nos honno kyscu a wnaeth Etlym ar iarlles ygyt.

**59.** A thrannoeth kychwynnu a wnaeth Peredur parth ar Cruc Galarus. 'Myn dy la6 di, argl6yd, mi a af ygyt a thi' heb yr Etlym. Wynt a deuthant racdunt hyt y lle y g6elynt y cruc ar pebylleu. 'Dos' heb y Peredur 'att y g6yr racko,' 6rth Etlym 'ac arch udunt, dyuot y 6rhau y mi.' Ef a deuth Etlym attunt, ac a dywa6t 6rthunt ual hynn: 'Dewch y wrha[u] ym hargl6yd i.' 'P6y y6 dy arglwyd di?' heb yr 6ynteu. 'Peredur Baladyrhir yw vy arglwyd i,' heb yr Etlym. 'Pei dyledus diuetha kennat, nyt aut dracheuyn yn vy6 att dy argl6yd, am erchi arch mor drahaus y vrenhined a ieirll a bar6neit a dyuot y wrhau yth argl6yd di.' Peredur a erchis ida6 vynet dracheuyn attunt, a rodi dewis udunt, ae g6rhau ida6, ae ymwan ac ef. Wynt a dewissassant ymwan ac ef. A Pheredur a uyrya6d perchen cant pebyll y dyd hwnnw yr llawr.

**60.** A thrannoeth ef a vyrya6d perchen cant ereill yr

llawr. Ar trydyd dyd cant a ga6ssant yn eu kyghor, g6rhau y Peredur. A Pheredur a ovynna6d udunt, beth a wneynt yno. Ac 6ynteu a dywedassant, pan y6 g6archad6 y pryf, yny vei var6. 'Ac yna ymlad a wnaem ninneu am y maen, ar neb a uei drechaf ohonam a gaffei y maen.' 'Arho6ch vi yma!' heb y Peredur. 'Mi a af y ymwelet ar pryf.' 'Nac ef, argl6yd,' heb wynt. 'Awn ygyt y ymlad ar pryf.' 'Ie,' heb y Peredur 'ny mynnaf i hynny. Pei lledit y pryf, ny chaff6nn i o glot v6y noc un ohona6ch chwitheu.' A mynet a wnaeth ef yr lle yd oed y pryf, ae lad, a dyuot attunt wynteu, a dywedut wrthunt: 'Kyfriu6ch a6ch treul yr pan doetha6ch yma, a mi ae talaf ywch ar en,' heb y Peredur. Ef a dala6d udunt kymeint ac a dywa6t pa6b y dylyy ohonaw. Ac nyt erchis udunt namyn adef eu bot yn wyr idaw ef. Ac ef a dywawt wrth Etlym: 'Att y wreic v6yhaf a gery yd ey di. A minneu a af ragof. Ac a dalaf itt dyuot yn wr im.' Ac yna y rodes ef y maen y Etlym. 'Du6 a dalho itt, a rwydheyt Du6 ragot!'

**61.** Ac ymeith yd aeth Peredur, ac ef a doeth y dyffryn avon deckaf a welsei eiryoet, a llawer o bebylleu amliw a welei ef yno. A ryuedach oed ganta6 no hynny, gwelet y sawl a welei o velineu d6fyr a melineu gwynt. Ef a gehyrda6d ac ef gwr gwineu mawr, a g6eith saer arna6. A govyn p6y oed a oruc Peredur. 'Penn melinyd wyf i' heb ef 'ar y melineu racko oll.' 'A gaffaf i letty gennyt ti?' heb y Peredur. 'Keffy' heb ynteu 'yn llawen.' Ef a doeth Peredur y ty y melinyd. Ac ef a welas lletty hoff tec yr melinyd. Ac erchi a wnaeth Peredur aryant yn echwyn yr melinyd, y brynu b6yt a llynn ida6 ac y dylwyth y ty, ac ynteu a talei ida6 kynny vynet odyno. Gouyn a oruc yr melinyd, py acha6s yd oed y dygyuor h6nnw yno. Y dywa6t y melinyd wrth Peredur: 'Mae y neill peth, ae tydi yn wr o bell, ae titheu yn ynvyt. Yna y mae amherodres Cristinobyl ua6r. Ac ny mynn honno namyn y gwr de6raf. Kanyt reit idi hi da. Ac ny ellit d6yn b6yt yr sa6l vilioed yssyd yma, ac o acha6s hynny y mae y sa6l velineu hynn.' Ar nos honno kymryt eu hessm6ythter a wnaethant.

**62.** A thrannoeth kyuodi y uynyd a oruc Peredur, a gwis-

ca6 ymdana6 ac ymdan y uarch y uynet yr t6rneimeint. Ac ef a welei bebyll ym plith y pebylleu ereill teckaf or a welsei eiryoet. A mor6yn dec a welei yn ystynnv y phenn tr6y ffenestyr ar y pebyll. Ac ny welsei eiryoet mor6yn degach, ac eurwisc o bali ymdanei. Ac edrych a wnaeth ar y uor6yn yn graff, a mynet y charyat ynda6 yn vawr. Ac uelly y bu yn edrych ar y uor6yn or bore hyt hanner dyd, ac o hanner dyd yny oed prytna6n. Ac yna neur daroed y t6rneimeint. A dyuot a oruc y letty, a thynnu y arueu y amdana6. Ac erchi aryant yr melinyd yn echwyn. A dic vu wreic y melinyd 6rth Peredur, ac eissoes y melinyd a rodes aryant yn ech6yn ida6. A thrannoeth y g6naeth yr vn wed ac a wnaethoed y dyd gynt. Ar nos honno y doeth y lletty, ac y kymerth aryant yn echwyn y gan y melinyd. Ar trydyd dyd, pan yttoed yn yr vn lle yn edrych ar y uor6yn, ef a gly6ei dyrna6t ma6r r6ng ysg6yd a myn6gyl ida6 a mynybyr b6yall. A phan edrycha6d drae geuyn ar y melinyd, y melinyd a dywa6t wrtha6: ‘G6na y neill peth,’ heb y melinyd ‘ae tydi a dynno dy benn ymeith, ae titheu a el yr t6rneimeint.’ A go6enu a wnaeth Peredur ar y melinyd, a mynet yr t6rneimeint. Ac a gyuaruu ac ef y dyd h6nn6, ef ae byrya6d oll yr lla6r 6ynt. A chymeint ac a vyrya6d ef a anuones y g6yr yn anrec yr amherodres. Ar meirch ar arueu yn anrec y wreic y melinyd, yr ymarhos am y haryant ech6yn.

**63.** Dylin a oruc Peredur y t6rneimeint, yny vyrya6d pa6b yr lla6r. Ac anuon y g6yr a oruc y garchar yr amherodres, ar meirch ar arueu y wreic y melinyd yr ymarhos am yr aryant echwyn. Yr amherodres a anuones att varcha6c y velin, y erchi ida6 dyuot y ymwelet a hi. A phallu a wnaeth Peredur yr gennat gyntaf, ar eil a aeth atta6. A hitheu y dryded weith a anuones cant marcha6c y erchi ida6 dyuot y ymwelet a hi, ac ony delei oe vod, erchi udunt y d6yn oe anuod. Ac 6ynt a doethant atta6, ac a dywedassant eu kennad6ri y 6rth yr amherodres. Ynteu a wharya6d ac 6ynt yn da. Ef a bara6d eu r6yma6 6ynt r6ymeit i6rch, ac eu b6r6 ygkla6d y velin. Ar amherodres a ovynna6d kyghor y 6r doeth a oed yn y

chyghor. A h6nn6 a dywa6t 6rthi: 'Mi a af atta6 ar dy gennyat.' A dyuot att Peredur, a chyuarch g6ell ida6, ac erchi ida6 yr m6yn y orderch dyuot y ymwelet ar amherodres. Ac ynteu a deuth ef ar melinyd. Ac yn y gyueir gyntaf y deuth yr pebyll eisted a 6naeth. A hitheu a deuth ar y neill la6. A byrr ymdidan a uu y rygtunt. A chymryt kennat a wnaeth Peredur, a mynet y letty.

**64.** Trannoeth ef a aeth y ymwelet a hi. A phann doeth yr pebyll, nyt oed vn gyueir ar y pebyll a uei waeth y gyweirdeb noe gilyd. Ac ny wydynt h6y, py le yd eistedei ef. Eisted a oruc Peredur ar neill la6 yr amherodres. Ac ymdidan a wnaeth yn garedic. Pan yttoedynt uelly, 6ynt a welynt yn dyuot y my6n g6r du, a gorfl6ch eur yn y la6 yn lla6n o win. A dyg6yda6 a oruc ar penn y lin geyr bronn yr amherodres, ac erchi idi, nas rodei onyt yr neb a delei y ymwan ac evo ymdanei. A hitheu a etrycha6d ar Peredur. 'Arglwydes,' heb ef 'moes y mi y gorulwch.' Ac yuet y g6in a oruc Peredur, a rodi y gorvl6ch y wreic y melinyd. A phann yttoedynt uelly, nachaf wr du oed v6y nor llall, ac ewin pryf yn y la6 ar weith gorfl6ch, ae loneit o win. Ae rodi yr amherotres, ac erchi idi, nas rodei onyt yr neb a ymwanei ac ef. 'Argl6ydes,' heb y Peredur 'moes y mi.' Ae rodi y Peredur a wnaeth hitheu, ac yued y g6in a oruc Peredur, a rodi y gorfl6ch y wreic y melinyd.

**65.** Pan yttoedynt uelly, nàchaf g6r penngrych . . . oed v6y noc un or gwyr ereill [yn dyuot y my6n, a cha6c] yn y la6, ae loneït o win ynda6. A gost6ng ar penn y lin, ae rodi yn lla6 yr amherodres, ac erchi idi, nas rodei onyt yr neb a ym6aney ac euo amdanei. Ae rodi a 6naeth hitheu y Peredur. Ac ynteu ae hanuones y 6reic y melinyd. Y nos honno mynet y letty a oruc Peredur. A thrannoeth gwisga6 ymdana6 ac ymdan y varch, a dyuot yr weirgla6d, a llad y try 6yr a oruc Peredur. Ac yna y deuth yr pebyll. A hitheu a dywa6t 6rth Peredur: 'Peredur dec, coffa dy gret a rodeist ti y mi pan

---

65. 1 Lady Guest reads *arw*. 2 [ ] supplied by a later hand in the margin, the MS. having become unreadable.

rodeis i ytti y maen, pan ledeist yr adanc.' 'Argl6ydes,' heb ynteu 'g6ir a dywedy, a minneu ae coffaaf.' Ac y g6ledych6ys Peredur gyt ar amherodres pedeir blyned ar dec, megys y dyweit yr ystorya.

**66.** Arthur a oed ygKaerllion ar Wysc, priflys ida6, ac ygkena6l lla6r y neuad yd oed pedwar gwyr yn eisted ar lenn o bali: Owein uab Uryen, a G6alchmei uab G6yar, a Howel uab Emyr Llyda6, a Pheredur Baladyrhir. Ac ar hynny 6ynt a welynt yn dyuot y my6n mor6yn benngrech du ar gevyn mul melyn, a charreieu anuana6l yn y lla6 yn gyrru y mul, a phryt anuana6l agherueid arnei. Duach oed y hwyneb ae d6yla6 nor hayarn duhaf a darffei y bygu. Ac nyt y lli6 hackraf namyn y llun. Grudyeu aruchel oed idi, ac wyneb kyckir y waeret, a thr6yn byrr ffroenvoll. Ar neill lygat yn vrithlas tratheryll, ar llall yn du ual y muchud ygkeuynt y phenn. Danned hiryon melynyon melynach no blodeu y banadyl. Ae chroth yn kychwynnu o gledyr y d6yvron yn vch noe helgeth. Asc6rn y chevyn a oed ar weith bagyl. Y d6y clun a oed yn llydan yscyrnic. Ac yn vein oll o hynny y waeret, eithyr y thraet ae glinyeu a oedynt vreisc.

**67.** Kyuarch g6ell y Arthur ae teulu oll eithyr y Peredur a oruc. Ac 6rth Peredur y dywa6t geireu dic anhegar: 'Peredur, ny chyuarchaf i well itti. Kanys dylyy. Dall uu tyghetuen, pan rodes itti da6n a chlot. Pan doethost y lys y brenhin cloff, a phann weleist yno y mack6y yn d6yn y g6ae6 lliueit, ac o vlaen y g6ae6 dafyn o waet, a h6nn6 yn rydec yn raeadyr hyt yn d6rn y mackwy, ac enryuedodeu ereill heuyt a weleist yno, ac ny ofynneist eu hystyr nac eu hacha6s. A phei as gofynnut, iechyt a gaffei y brenhin, ae gyuoeth yn hed6ch, a bellach br6ytreu ac ymladeu, a chelli marchogyon, ac ada6 g6raged yn wed6, a rianed yn diosymdeith, a hynny oll oth acha6s di.'

**68.** Ac yna y dywa6t hi 6rth Arthur: 'Gan dy ganyat, argl6yd, pell y6 vy lletty i odyma, nyt amgen ygkastell syber6

---

66. 6 *yny y* MS.

nyvun a glyweist y 6rtha6, ac yn h6nn6 y mae chwech marcha6c a thrugeint a phumcant o varchogyon urda6l, ar wreic v6yhaf a gar pob un gyt ac ef. A ph6y bynnac a vynno ennill clot o arueu ac o ymwan ac o ymlad, ef ae keiff yno, os dirper. A uynnei hagen arbennicr6yd clot ac etmyc, g6nn y lle y kaffei. Castell yssyd ar vynyd aml6c, ac yn h6nn6 y mae mor6yn, ac yn y gyveistydya6 yd ydys. A ph6y bynnac a allei y rydhau, penn clot y byd a gaffei.' Ac ar hynny kychwynnv ymeith a oruc.

**69.** Heb y Gwalchmei: 'Myn vygcret, ny chyscaf hun lonyd, nes g6ybot a all6yf ell6ng y vor6yn.' A llawer o deulu Arthur a gyttuuna6d ac ef. Amgen hagen y dywa6t Peredur: 'Myn vygcret, ny chyscaf hun lonyd, nes g6ybot ch6edel ac ystyr y g6ae6 a dywa6t y vor6yn du amdana6. A phann yttoed pa6p yn ymgyweirya6, nachaf uarcha6c yn dyuot yr porth, a meint mil6r ae angerd ynda6 yn gyweir o dillat ac arueu. Ac a deuei racda6, ac a gyuarchei well y Arthur ae deulu oll, eithyr y Walchmei. Ac ar ysg6yd y marcha6c yd oed taryan eurgr6ydyr, a thra6st o lassar glas yndi. Ac yn vn lli6 a hynny yd oed yr arueu ereill oll. Ac ef a dywa6t 6rth Walchmei: 'Ti a ledeist vy argl6yd oth t6yll ath vrat. A hynny mi ae profaf arnat.' Kyuodi a wnaeth G6alchmei y uynyd. 'Llyma,' heb ef 'vyg-g6ystyl yth erbyn, ae yma, ae yn y lle y mynnych, nat wyf i na thwyll6r na brat6r.' 'Geyr bronn y brenhin yssyd arnaf i y mynnaf i bot y gyfranc yrof a thi' heb y marcha6c. 'Yn llawen,' heb y G6alchmei. 'Dos ragot, mi yth ol.' Racda6 yd aeth y marcha6c. Ac ymgyweirya6 a wnaeth G6alchmei, a llawer o arueu a gynnigywyt ida6. Ac ny mynna6d onyt y rei eida6. G6isga6 a wnaeth G6alchmei a Pheredur ymdanunt. Ac y kerdassant yn y ol o acha6s eu kedymdeithas a meint yd ymgerynt. Ac nyt ymganlynnassant ygyt, namyn pob un yn y gyueir.

**70.** G6alchmei yn ieuenctit y dyd a deuth y dyffrynn, ac yn y dyffryn y g6elei kaer, a llys ua6r yn y gaer, a thyreu aruchelualch yn y chylch. Ac ef a welei varcha6c yn dyuot yr porth allan y hela y ar balffre gloewdu ffroenuoll ymdeithic, a rygig wastadualch escutlym didramg6yd ganta6. Sef oed

h6nn6 y g6r bioed y llys. Kyuarch gwell a wnaeth G6alchmei ida6. 'Du6 a rodo da itt, unbenn.' 'A phan doy ditheu?' 'Pan deuaf,' heb ef 'o lys Arthur.' 'Ae g6r y Arthur 6yt ti?' 'Ie, myn vygcret,' heb y G6alchmei. 'Mi a 6nn gyghor da itt' heb y marcha6c. 'Blin a lludedic yth welaf. Dos yr llys, ac yno y trigyy heno, os da gennyt.' 'Da, argl6yd, a Du6 a dalho itt!' 'Hwde vodr6y yn ar6yd att y portha6r, a dos ragot yr t6r racco, a chwaer yssyd y minheu yno.' Ac yr porth y doeth G6alchmei. A dangos y votr6y a wnaeth, a chyrchu y t6r. A phan doeth y my6n, yd oed ffyryfdan ma6r yn llosgi, a fflam oleu uchel div6c ohona6, a mor6yn ua6rhydic deledi6 yn eisted y my6n kadeir 6rth y tan. Ar uor6yn a vu lawen 6rtha6, ae ressa6u a oruc, a chychwynv yn y erbyn. Ac ynteu a aeth y eisted ar neill la6 y uor6yn. Eu kinya6 a gymerassant. A g6edy eu kinya6 dala ar ymdidan hygar a orugant.

**71.** A phan yttoedynt uelly, llyma yn dyuot y my6n attunt g6r g6ynll6yt teledi6. 'Ha, achenoges butein!' heb ef 'pei g6yput ti ia6t itt chware ac eisted ygyt ar g6r h6nn6, nyt eistedut ac ny chwaryut.' A thynnu y benn allan ac ymeith. 'Ha, unbenn,' heb y uor6yn 'pei g6nelut vyghyghor rac ofyn bot pyt gan y g6r itt, ti a gaeut y dr6s.' Gwalchmei a gyuodes y hynny, a phan da6 tu ar dr6s, yd oed y g6r ar y .... ciuuet yn lla6narua6c yn kyrchu y t6r y uynyd. Sef a oruc Gwalchmei a chla6r g6ydb6yll diffyn rac ovyn neb ..... onadunt, yny doeth y g6r o hela. Ar hynny llyma y iarll yn dyuot. 'Beth y6 hynn?' heb ef. 'Peth hagyr,' heb y g6r g6ynll6yt 'bot yr achenoges racko yn eisted ed...or ac yn bwyta gyt ar g6r a lada6d awch tat, a G6alchmei uab G6yar y6.' 'Peit6ch bellach,' heb yr iarll 'miui a af y my6n.' Y iarll a vu lawen 6rth Walchmei. 'Ha, unbenn,' heb ef 'cam oed itt ueneg or uyny .. lad an tat ohonat. Kyny gallom ni y dial, Du6 ae dial arnat.' 'Eneit,' heb y G6alchmei 'llyna ual y mae am hynny. Nac y adef llad a6ch tat ch6i, nac y diwat ny deuthum i. Neges yd wyf i yn mynet y Arthur, ac ym y hun archaf i oet bl6ydyn hagen, yny del6yf om neges. Ac yna, ar vygcret, vyn dyuot yr llys honn y wneuthur vn or deu, ae adef, ae wadu.'

Yr oet a gauas yn llawen. Ac yno y bu y nos honno. Trannoeth kychwyn ymeit[h] a oruc, ac ny dyweit yr ystorya am Walchmei h6y no hynny yn y gyueir honno.

**72.** A Pheredur a gerda6d racda6. Cr6ytra6 yr ynys a wnaeth Peredur, y geissa6 chwedylyaeth y 6rth y uor6yn du, ac nys kauas. Ac ef a deuth y dir nys atwaenyat, y my6n dyffryn avon. Ac ual yd yttoed yn kerdet y dyffrynn, ef a welei varcha6c yn dyuot yn y erbyn, ac ar6yd bala6c arna6, ac erchi y vendyth a wnaeth. 'Och a, truan,' heb ef 'ny dylyy gaffel bendyth, ac ny phr6ytha itt, am wisga6 arueu dyd kyuuch ar dyd hediw.' 'A pha dyd y6 hedi6?' heb y Peredur. 'Du6 G6ener y Croclith y6 hedi6.' 'Na cheryd ui, ny wyd6n i hynny, bl6ydyn y hedi6 y kychwynneis om g6lat.' Ac yna disgynu yr lla6r a wnaeth, ac arwein y uarch yn y la6. A thalym or prifford a gerda6d, yny gyuaruu ochelfford, ac yr ochelfford tr6y y coet. Ar parth arall yr coet ef a welei gaer voel, ac arwyd kyuanned a welei or gaer. A pharth ar gaer y doeth, ac ar borth y gaer y kyuaruu ac ef y bala6c a gyuaruuassei ac ef kyn no hynny, ac erchi y vendyth a oruc. 'Bendyth Du6 itt,' heb ef 'a ia6nach y6 kerdet uelly, a chyt a mi y bydy heno.' A thrigya6 a wnaeth Peredur y nos honno yno.

**73.** Trannoeth arofun a wnaeth Peredur ymeith. 'Nyt dyd hedi6 y neb y gerdet, ti a vydy gyt a mi hedi6 ac avory a thrennyd. A mi a dywedaf itt y kyuarwydyt goreu a all6yf am yr hynn yd 6yt yn y geissa6.' Ar pedwyryd dyd arofun a wnaeth Peredur y ymdeith, ac adol6yn yr bala6c dywedut kyfarwydyt y 6rth Gaer yr Enryuedodeu. 'Kymeint ac a wyp6yf i, mi ae dywedaf itt. Dos dros y mynyd racko. A thu h6nt yr mynyd y mae afon. Ac yn dyffrynn yr avon y mae llys brenhin. Ac yno y bu y Brenhin y Pasc. Ac or keffy yn vn lle chwedyl y 6rth Gaer yr Enryuedodeu, ti ae keffy yno.'

**74.** Ac yna y kerda6d Peredur racda6. Ac y deuth y dyffryn yr avon, ac y kyfaruu ac ef niuer o wyr yn mynet y hela. Ac ef a welei ym plith y niuer g6r urdedic, a chyuarch ida6

---

72. 8 *a phadyd* — 9 *hedi*6 put twice in the MS.

a oruc Peredur. 'Dewis di, vnbenn, ae ti a elych yr llys, ae titheu a delych gyt a mi y hela. Ae minneu a yrro vn or teulu yth orchymun y verch yssyd un yno, y gymryt b6yt a llynn, yny del6yf o hela. Ac or byd dy negesseu, hyt y gallwyf i eu kaffel, ti ae keffy yn llawen.' A gyrru a wnaeth y brenhin gwas byrruelyn gyt ac ef. A phan doethant yr llys, yd oed yr vnbennes g6edy kyfodi ac yn mynet y ymolchi. Ac y deuth Peredur racda6, ac y gressawa6d hi Peredur yn llawen, ae gynn6ys ar y neill la6. A chymryt eu kinya6 a orugant. A pheth bynnac a dywettei Peredur 6rthi, chwerthin a wnay hitheu yn vchel, mal y clywei pa6p or llys. Ac yna y dywa6t y gwas byruelyn wrth yr unbennes: 'Myn vygcret,' heb ef 'or bu 6r itti eiryoet y mack6y h6nn a mi, ac ony bu 6r itt, y mae dy vryt ath ved6l arna6.'

**75.** Ar g6as byruelyn a aeth parth ac att y brenhin. Ac a dywa6t, mae tebyckaf oed ganta6, bot y mack6y a gyuaruu ac ef yn wr oe verch, 'ac onyt g6r, mi a debygaf y dyt g6r idi yn y lle, onyt ymogely racda6.' 'Mae dy gyghor di, was?' heb y brenhin. 'Kyghor y6 gennyf, ellwng dewrwyr am y benn, ae dala, yny wypych diheur6yd am hynny.' Ac ynteu a ellyngha6d g6yr am benn Peredur oe dala, ac y dodi y my6n geol. Ar vor6yn a doeth yn erbynn y that, ac a ovynna6d ida6 py acha6s y parassei carcharu y mackwy o lys Arthur. 'Dioer,' heb ynteu 'ny byd ryd heno nac auory na threnhyd, ac ny da6 or lle y mae.' Ny 6rthneua6d hi ar y brenhin yr hynn a dywa6t, a dyuot att y mack6y. 'Ae anigryf gennyt ti dy uot yma?' 'Nym dorei i kynny be6n.' 'Ny byd gwaeth dy wely ath ansa6d noc un y brenhin. Ar kerdeu goreu yn y llys ti ae keffy wrth dy gyghor. A phei didanach gennyt titheu no chynt vot vyngg6ely i yma, y ymdidan a thi, ti ae kaffut yn llawen.' 'Ny wrthneuaf i hynny' heb y Peredur. Ef a uu ygkarchar y nos honno. Ar uor6yn a gywira6d yr hynn a ada6ssei ida6.

**76.** A thrannoeth y clywei Peredur kynn6ryf yn y dinas.

---

74. 12 *eu eu* MS.

‘Oia, vor6yn dec, py gynn6ryf y6 h6nn?’ heb y Peredur. ‘Llu y brenhin ae allu yssyd yn dyuot yr dinas h6nn hedi6.’ ‘Beth a vynnant h6y uelly?’ ‘Iarll yssyd yn agos yma, a d6y iarllaeth ida6. A chygadarnet y6 a brenhin, a ch[y]franc a vyd y rygtunt hedi6.’ ‘Adol6yn y6 gennyf i yti,’ heb y Peredur ‘peri ymi varch ac arueu, y vynet y disg6yl ar y gyfranc, ar vygkywirdeb ynheu, dyuot ym carchar drachevyn.’ ‘Yn llawen,’ heb hitheu ‘mi a baraf itt varch ac arueu.’ A hi a rodes ida6 march ac arueu, a ch6nsallt purgoch ar uchaf y arueu, a tharyan uelen ar y ysg6yd. A dyuot yr gyfranc a wnaeth. Ac a gyfaruu ac ef o wyr yr iarll y dyd h6nn6, ef ae byrya6d oll yr lla6r, ac ef a doeth drachevyn y garchar.

**77.** Govyn chwedleu a wnaeth y vor6yn y Peredur, ac ny dywa6t ef vn geir 6rthi. A hitheu a aeth y ofyn chwedleu y that. A govyn a wnaeth, p6y a uuassei oreu oe deulu. Ynteu a dywa6t, nas atwaenat, ‘g6r oed, a ch6nsallt coch ar uchaf y arueu, a tharyan velen ar y ysg6yd.’ A gowenu a wnaeth hitheu, a dyuot yr lle yd oed Peredur, a da vu y barch y nos honno. A thridieu ar un tu y llada6d Peredur wyr yr iarll. A chynn caffel o neb wybot p6y vei, y doey y garchar dracheuyn. Ar pedwyryd dyd y llada6d Peredur y iarll ehunan. A dyuot a oruc y vorwyn yn erbyn y that, a govyn ch6edleu ida6. ‘Chwedleu da,’ heb y brenhin ‘llad yr iarll, a minneu bieu y d6y iarllaeth.’ ‘A 6dost ti, argl6yd, p6y ae llada6d ef?’ ‘G6n,’ heb y brenh[in] ‘marcha6c y c6nsallt coch ar taryan uelen ae llada6d.’ ‘Argl6yd,’ heb hi ‘miui a 6n p6y y6 h6nn6.’ ‘Yr Du6,’ heb yr ynteu ‘p6y y6 ef?’ ‘Argl6yd,’ heb hi ‘y marcha6c yssyd ygkarchar gennyt y6 h6nn6.’

**78.** Ynteu a doeth hyt lle yd oed Peredur, a chyuarch g6ell ida6 a wnaeth, a dywedut ida6, y g6assanaeth a wnathoed y talei ida6 megys y mynnei e hun. A phan aethp6yt y v6yta, Peredur a dodet ar neill la6 y brenhin, ar uor6yn y parth arall y Peredur. ‘Mi a rodaf itt’ heb y brenhin ‘vym merch yn bria6t, a hanner vym brenhinyaeth genthi, ar d6y iarllaeth a rodaf itt yth gyuar6s.’ ‘Argl6yd, Du6 a dalho itt,’ heb y Peredur ‘ny deuthum i yma yr gwreicha.’ ‘Beth a geissy

ditheu, unbenn?' 'Keissa6 ch[w]edleu yd 6yf i y 6rth Gaer yr Enryuedodeu.' 'M6y y6 med6l yr unbenn noc ydym ni yn y geissa6' heb y uorwyn. 'Chwedleu y 6rth y gaer ti ae keffy. A chynhebrygyeit arnat tr6y gyuoeth vyn tat, a threul diga6n, a thydi, unbenn, y6 y g6r m6yhaf a garaf i.' Ac yna y dywa6[t]: 'Dos dros y mynyd racco, a thi a wely lynn a chaer o vy6n y llynn, a honno a elwir Kaer yr Enryuedodeu, ac ny wdam ni dim oe hanryuedodeu hi, eithyr y gal6 velly.'

**79.** A dyuot a oruc Peredur parth ar gaer. A phorth y gaer oed yn agoret. A phan doeth tu ar neuad, y dr6s oed yn agoret. Ac val y doeth y my6n, g6ydb6yll a welei yn y neuad, a phob un or d6y werin yn g6are yn erbyn y gilyd; ar vn y bydei borth ef idi a gollei y g6are, ar llall a dodei a6r yn vn wed a phey bydynt g6yr. Sef a wnaeth ynteu digya6, a chymryt y werin yn y arffet, a thaflu y cla6r yr llynn. A phan yttoed ef uelly, nachaf y uorwyn du yn dyuot y my6n, ac yn dywedut 6rth Peredur: 'Ny bo gressa6 Du6 6rthyt. Mynychach it wneuthur dr6c no da.' 'Beth a holy di ymi, y uorwyn du?' heb y Peredur. 'Colledu ohonat yr amherodres oe chla6r, ac ny mynnei hi hynny yr y amherodraeth.' 'Oed wed y keffit y cla6r?' 'Oed, bei elhut y Gaer Ysbidinongyl. Y mae yno 6r du yn diffeitha6 llawer o gyuoeth yr amherodres. A llad h6nn6 ohonat ti, a gaffut y cla6r. Ac ot ey di yno, ny doy yn vy6 dracheuyn.' 'A vydy di gyuar6yd ymi yno?' heb y Peredur. 'Mi a uanagaf fford itt yno' heb hi.

**80.** Ef a deuth hyt ygKaer Ysbidinongyl, ac a ymlada6d ar g6r du. Ar g6r du a erchis na6d y Peredur. 'Mi a rodaf na6d it, par vot y cla6r yn y lle yd oed, pan deuthum i yr neuad.' Ac yna y doeth y uorwyn du, a dywedut 6rtha6: 'Ie,' heb hi 'emelltith Du6 itt yn lle dy lauur, am ada6 yr ormes yn vy6 yssyd yn diffeitha6 kyuoeth yr amherodres.' 'Mi a edeweis' heb y Peredur 'ida6 y eneit yr peri y cla6r.' 'Nyt ytti6 y cla6r y lle kyntaf y kefeist. Dos dracheuyn, a llad ef.' Mynet a oruc Peredur, a llad y g6r du. A phan doeth yr llys, yd oed y uor6yn du yn y llys. 'Ha, uor6yn,' heb y Peredur 'mae yr amherodres?' 'Yrof i a Duw, nys g6ely di hi yn a6r,

ony bei lad gormes yssyd yn y fforest racko ohonat.' 'Py ry6 ormes y6 h6nn6?' 'Kar6 yssyd yno, a chyn ebr6ydet y6 ar adeinya6c kyntaf, ac uncorn yssyd yn y dal, kyhyt a phaladyr g6ae6, a chyn vlaenllymet y6 ar dim blaenllymhaf. A thorri a wna vric y coet ac a vo o well yn y fforest. A llad pob anifueil a wna or a gyfarffo ac ef yndi. Ac ar nys llado, mar6 vydant o newyn. A g6aeth no hynny. Dyuot a wna beunoeth, ac yuet y byscotlyn yn y dia6t, a gadu y pysca6t yn noeth, a meir6 vyd eu kanm6yhaf, kynn dyuot d6fyr idi drachefyn.' 'A vorwyn,' heb y Peredur 'a doy di y dangos ymi yr aniueil h6nn6?' 'Nac af, ny lyuass6ys dyn uynet yr fforest yr ys bl6ydyn. Mae yna gol6yn yr argl6ydes, a h6nn6 a gyfyt y kar6, ac a da6 attat ac ef, ar karw ath gyrch di.'

**81.** Y colwyn a aeth yn gyfarwyd y Peredur. Ac a gyuodes y car6, ac a doeth parth ar lle yd oed Peredur ac ef. Ar kar6 a gyrcha6d Peredur, ac ynteu a ellygh6ys ynteu heiba6. Ac a trewis y benn y arna6 a chledyf. A phan yttoed yn edrych ar penn y kar6, ef a welei varchoges yn dyuot atta6. Ac yn kymryt y col6yn yn llawes y chapann, ar penn y rygthi a choryf. Ar torch rudeur a oed am y vyn6gyl. 'A vnben,' heb hi 'ansyber6 y g6naethost, llad y tl6s teckaf oed ym kyuoeth.' 'Arch a uu arnaf y hynny. Ac a oed wed y gallwn i kaffel dy gerennyd di?' 'Oed. Dos y vronn y mynyd racko. Ac yno ti a wely l6yn. Ac y mon y ll6yn y mae llech. Ac yno erchi g6r y ymwan deirg6eith, ti a gaffut vygkerenhyd.'

**82.** Peredur a gerda6d racda6. Ac a deuth y ymyl y ll6yn, ac a erchis g6r y ymwan. Ac ef a gyuodes g6r du y dan y llech, a march yskyrnic y dana6, ac arueu rytlyt ma6r ymdana6 ac ymdan y uarch. Ac ymwan a wnaethant. Ac ual y byryei Peredur y g6r du yr lla6r, y neityei ynteu yn y gyfr6y dracheuyn. A disgynnv a oruc Peredur, a thynnv cledyf. Ac yn hynny difflannu a oruc y g6r du, a march Peredur ganta6, ac ae varch ehun, hyt na welas ef yr eil ol6c arnynt.

**83.** Ac ar hyt y mynyd kerdet a wnaeth Peredur. Ar parth arall yr mynyd ef a welei gaer yn dyffryn auon. A pharth ar gaer y doeth. Ac ual y da6 yr gaer, neuad a welei. A dr6s

y neuad yn agoret. Ac y my6n y doeth. Ac ef a welei 6r ll6yt cloff yn eisted ar dal y neuad. A G6alchmei yn eisted ar y neill la6. Ae varch a ducsei y g6r du, a welei yn vn presseb a march G6alchmei. A llawen uuant 6rth Peredur, a mynet y eisted a oruc y parth arall yr g6r ll6yt. Ac ar hynny nachaf was melyn yn dyg6yda6 ar penn y lin geyr bron Peredur, ac yn erchi kerennyd y Peredur. 'Argl6yd,' heb y g6as 'mi a deuthum yn rith y uorwyn du y lys Arthur, a phan vyryeist y cla6r, a phan ledeist y g6r du o Ysbidinongyl, a phan ledeist y kar6, a phan vuost yn ymlad ar g6r or llech. A mi a deuthum ar penn yn waetlyt ar y dyscyl, ac ar g6ae6 yd oed y ffr6t waet or penn hyt y d6rn ar hyt y paladyr, ath geuynder6 bioed y penn. A gwidonot Kaerloy6 ae lladyssei, ac 6ynt a gloffassant dy ewythyr. Ath geuynder6 6yf ynneu, a darogan y6 ytti dial hynny.'

**84.** A chygor vu gan Peredur a G6alchmei, anuon att Arthur ae deulu y erchi ida6, dyuot am benn y g6idonot. A dechreu ymlad a wnaethant ar g6idonot. A llad g6r y Arthur geyr bronn Peredur a wnaeth vn or g6idonot, ae g6ahard a 6naeth Peredur. Ar eilweith llad g6r a wnaeth y widon geyr bron Peredur, ar eilweith y g6aharda6d Peredur hi. Ar tryded weith llad g6r a wnaeth y widon geyr bronn Peredur, a thynnv y gledyf a wnaeth Peredur, a thara6 y widon ar uchaf y helym, yny hyllt yr helym, ar arueu oll ar penn yn deu hanner. A dodi llef a wnaeth, ac erchi yr g6idonot ereill ffo, a dywedut, pan y6 Peredur oed, y g6r a vuassei yn dyscu marchogaeth gyt ac 6ynt, yd oed tyghet eu llad. Ac yna y trewis Arthur ae deulu gan y g6idonot. Ac y llas g6idonot Kaerloy6 oll. Ac uelly y treythir o Gaer yr Enryuedodeu.

# Grammatical Remarks.

### Vowels.

1. 6 is indiscriminately used in the Llyfr Coch (and in the Book of Taliessin) with *w*, to express both vowel and semivowel. Rarely *u*, as in *puy* 'who?'

2. *v* alternates with *u* for mod. *u*, as *vn* 'one'.

3. Original *i* has in many instances changed to *y* in the later language, as in *llydan* 'broad', O.W. *litan*; *gwyw* 'feeble', O.W. *gwiw*. Cf. *dylin* 63, 1. *dilynwys* 41, 2. *diwedaf* 53, 1 etc. In some words this *y* has still farther changed to *u*, as in *pump* 'five', O.W. *pimp*; *duw* 'god' and *duw* 'day', O.W. *diu*.

4. For *y* (from orig. *u* or *o*) *e* is sometimes found, as in *hegar* 'amiable' for *hygar*, where the prefix *hy-* represents an older *su-*, *so-*, Ir. *so-* = Gr. *εὐ-*. *ffenedig* for *ffynedig* from *ffun* etc. Stokes (*Verb Substantive* p. 28 n.) would regard such *e*'s as mere scribal errors. Vice versa, *y* for *e* in *rydec, mynegi* etc.

5. O. and M. W. *ei* has in Mod. W. become *ai* in monosyllables, whilst it is preserved in inflexion and composition, as *gweir* 'hay', now *gwair*, pl. *gweiriau*, in composition *gweir-glodd* 'meadow'.

6. Similarly M.W. *eu* (O.W. *ou*) is now written *au*, except in *eu*, *neu*.

7. O. and M. W. *aw* (*a6*) in unaccented final syllables has become *o* in the mod. spoken language, as O. W. *arfawc* 'armed', now *arfog*.

8. *ai* (*ay*) alternates with *ae*, as *traian*, *traean* 'a third'; *raeadyr*, now *rhaiadr* 'a waterfall'.

9. In Mod. W. originally short vowels have under the influence of word-accent been lengthened in monosyllables before the simple consonants *g, b', d, dd, f, n, l, ch, th, ff, s*. In O. W. and very probably still in M. W. (see Rhys, *Welsh Philology*[2], p. 128) we have therefore to read such vowels short, e. g., *glăn* 'pure' = Ir. *glan*; *hĕn* 'old' = Lat. *sen-ex*, Ir. *sen*; *prĭdd* 'mould' = Ir. *criaid*; *cŏf* 'memory' = Ir. *cuman*; *hŭn* 'sleep' = Ir. *suan*; *dwfyr* 'water' = Ir. *dobar*; *gwydd* 'wood' = Ir. *fid*.

10. Infection, i. e. change of original *a* and *o* into *e* by a following *i* (*e, y*), has been given up in Mod.W. in cases where it extended through two syllables, as *kedernyt* 'strength', now *cadernid*; *kerennyd* 'friendship',

now *carennydd*; *llewenyd* 'joy', now *llawenydd*; *agherueid* 'unlovely', now *angharuaidd*; *ederyn* 'a bird', now *aderyn*.

11. Irrational vowels developed between consonants are in Mod. W. generally no longer expressed in writing, as *baraf* 'beard', now *barf*; *chwedyl*, *chwedel* 'story', now *chwedl*; *twrwf, twryf* 'tumult' now *twrf*. Such vowels are sometimes the representatives of original fuller vowels, as in *ofyn* 'fear', now *ofn,* Ir. *omun*; *dwfyn* 'deep', now *dwfn,* Ir. *domuin.*

**Consonants.**

1. *k* is used equivalent with *c*.

2. For mod. *chw* we find, besides *chw* and *ch6*, the spellings *hw, wh, cho, ho,* as *hwaer, whaer* = *chwaer*, *ymchoelut* = *ymchwelyd.*

3. *ng* is often written *gg*, or even *g*, as *egyl* 'angel'.

4. *v*, and *u*, are used promiscuously for mod. *f*, as *eururas* = mod. *aurfras*. *fu* = *f* occurs in *agkyfuartal* 37, 2. *diodefueynt* 53, 12.

5. *dd* is never used, but represented by *d*. *dd* did not get into general use till about 1500. See Rhys, *Welsh Phonology*[2], p. 249.

6. *rh* is represented by simple *r*.

7. Double consonants are used in many cases where they have been dropped in Mod. W. writing. There is always an etymological reason for their use, as *crwnn* 'round', now *crwn*, Ir. *cruind,* Germ. *rund*; *camm* 'crooked', now *cam*, O. Ir. *camb,* Gaul. *Cambo-dunum.*

8. Aspiration (i. e. the change of *c, t, p* to *ch, th, ph*) takes place after a consonant, though this may have disappeared. In the same way as an original **marc* 'horse' (cf. Ir. *marc*) has become *march, *nert* 'strength' (cf. Ir. *nert*) *nerth, *sept* 'seven' (cf. Lat. *sept-em*) *seith,* now *saith,* we have *a thi* 'and thou' or 'with thee' standing for an original **ac ti,* the form *ac* being still preserved before vowels. Thus all words requiring aspiration to take place after them have originally ended in a consonant, as *tri* 'three', orig. **tris* (cf. Lat. *tres*, Goth. *treis*); *chwe* 'six', which is still *chwech* (cf. Lat. *sex* etc.) when used without a noun.

9. Vocal mutation, i. e. the change of *c, t, p* to *g, d, b*; of *g, d, b* to —, *dd, f*; of *m* to *f*; of *ll* and *rh* to *l* and *r*, takes place after a vowel which may have disappeared. There is again no difference between the treatment in single words or that of two words following each other within the sentence. Just as O.W. *cic* 'flesh', *gwlat* 'country', *pawp* 'every', *tig* 'house', *budicaul* 'victorious', *treb* 'town', *rannam* 'I divide' have in the mod. language become *cig, gwlad, pawb, ty, buddugol, tref, rhanaf,* so the prepositions *ar* and *am* require vocal mutation after them, because they once ended in a vowel, **are* (cf. *Aremorica,* W. *ar-for* 'sea-side') and **ambi* (Gaul. *ambi*); so the feminine article and all feminine nouns require vocal mutation after them, because they once ended in vowels (cf. Lat. *is* and *ea, deus* and *dea* etc.) etc.

10. Nasal mutation is the change which *g, b, d* and *c, p, t* suffer through a preceding nasal. The former (mediae) are simply assimilated, i. e. *n* + *g* becomes *ngg, ng*; *n* + *b* : *mm, m*; *n* + *d* : *nn, n*, as *vynggwely* 'my bed' (badly spelt *vyggwely, vygwely*), *cam* 'crooked' for older *camm, camb, vyn dyvot, vy nyvot* 'my coming'. The tenues are as a rule changed into surd nasals, guttural, dental and labial respectively, best written *ngh, nh, mh* in the mod. language. For this process we find a variety of graphic representations used in the older Welsh, as *ygkarchar* 'in prison', now spelt *yn ngharchar* (pronounced *yngharchar*); *vyghyghor* 'my counsel'; *vyntat, vynntat* 'my father', now *vynnhad* (pron. *vynhad*); *vymporthawr* 'my doorkeeper', now *fym mhorthor* (pron. *fymhorthor*); *ym penn, yn mhenn*, now *ym mhenn* etc. But we also find *cymhell* 'to compell', thus showing that the mod. pronunciation was already established in M.W., though it has not always found an adequate expression in writing.

Note. In some single words the nasal and tenuis have remained unaltered side by side, as in *ieuanc* 'youth' (*n* = *ng*), Lat. *iuvencus*; *pump* 'five'; *cant* 'hundred', Lat. *centum*; *nant* 'brook'. — In some words *n* + *t* has become *nn*: *fynnawn* 'fountain', from Lat. *fontana*; *hanner* 'a half', for older *hanther* (*th* = *t* + *h*); *tannau* 'chords', pl. of *tant*, in O.W. *tantou*; *cynnwryf* 'turmoil' for *cyn-twryf* etc. Similarly M.W. *angheu* 'death' has in Mod.W. become *angeu*; O.W. *pimphet* 'fifth': *pummed*.

## Declension.

1. Except the traces of a few cases, the difference between singular and plural is all that is left of declension in Welsh. See Rhys, *Revue Celtique* II. 115, and *Welsh Phon.*[2] pp. 143—153.

In *meu-dwy* 'hermit', lit. 'servant of God', the proper name *Gwas-dwy*, and the name of the Dee *Dyfr-dwy* we have an old gen. of *duw* 'God'.

In the nominal preposition *er-bynn* 'against' we have an old dat. of *penn* 'head'. Cf. Ir. *air-chiunn*.

In *peunyd* 'daily' for **peupn-dyd* 'every day', and *peunoeth* 'every night' we have accusatives.

2. Traces of a dual are preserved in *deu vilgi vronwynnion vrychion* 'two white-breasted, brindled greyhounds' (56, 11), where the vocal mutation in the adjectives shows that *vilgi* is not the plural, but the dual nominative which once ended in a vowel.

3. We can distinguish the following plural formations.

(a) By infection ('i interna' Zeuss), the nom. pl. of masc. *o*-stems having once ended in *ī*, as in Latin: *march* 'horse', pl. *meirch*. This way of forming the plur. has become a principle and has been transferred to cases where it does not originally belong, as to feminine nouns. Many adjectives form their pl. in this way.

(b) By the addition of *-i* ('i externa' Zeuss), which Stokes (*Celtic Declension*, p. 43) identifies with the ending *-u* of Irish accusatives plural (W. *seiri* 'artisans' = Ir. *sáeru*), whilst Rhys *Welsh Phon.*[2] pp. 28—30 and *Rev. Celt.* VI. p. 15 sees in it the abstract suffix *-i* of nouns like *diogi, tlodi*.

(c) By the ending *-au*, M. W. *-eu*, O. W. *-ou*, or with intercalated *i, iau* etc., the regular development of the nom. pl. of original *u*-stems, **-oves*.

(d) By the ending *-on* (and *-ion*) which Rhys (*Rev. Celt.* II. 118) thinks belonged originally to adjectives only.

(e) By the ending *-oed*, now *-oedd*.

(f) By suffixes originally belonging to abstract nouns (Rhys, *Rev. Celt.* II. 117), as *-et*, now *-ed*; *-ot*, now *-od*; *-yt*, now *-yd*; *-ed*, now *-edd*; *-eit*, *-ieit*, now *-iaid*; *-yd*, now *-ydd*.

Isolated plural formations are *cwn* 'dogs', sing. *ci*, cf. Ir. *cú*, pl. *cona*; *ychen* 'oxen', sing. *ych*, from *n*-stems. *cemmein* 'steps', sing. *cam*; *enuein* 'names', now *enau*, sing. *anu*, now *enw*; *ruimmein* 'bonds', sing. *ruim*, now *rhwym*, from stems in *-men*. *carant* 'friends', now *ceraint*, *cerynt*, sing. *car*, cf. Ir. *cara*, pl. *carait*; *gofaint* 'smiths', sing. *gof*, Ir. *goba*, from stems in *-nt*. *brodyr* 'brothers', sing. *brawt*; *chwior-ydd* 'sisters', sing. *chwaer*, Ir. *siur*. *tei* 'houses', sing. *ty*, an *s*-stem. *troet* 'foot', pl. *traet*, a *t*-stem, cf. Ir. *traig*, pl. *traigid*.

Collective nouns form a singular ('singulativum' Zeuss) by the suffix *-inn*, *-in*, now *-yn*, fem. *-enn*, *-en*, which Gaidoz (*Y Cymmrodor* V.) regards as a diminutive formation. *merl* 'a pony', *merl-yn* 'a small pony'; *plant* 'children', *plent-yn* 'a single child'.

*Gwaew* 'spear' makes its plural *gwaewyr, gwaewar*.

## Verb.

### Infinitive.

1. Without suffix, representing the stem from which the tenses are formed, as *edrych* 'to see', cf. Ir. *drech* 'face', √ *derc*; *llad* 'to slay', Ir. *slaid-im*, inf. *slaide*.

2. With *t*-suffix: *cymrut, cymryt* 'to take', cf. Ir. *breith*; *yvet* 'to drink', cf. Ir. *ib-im*, Lat. *bib-ere*; *gwelet* 'to see'; *clywet* 'to hear', cf. Ir. *cloor, clunim*, √ *clu*; *dy-wed-ut* 'to say', √ *gwed*.

3. With the suffixes *-i*, *-u* and *-(i)aw*, originally ending in *-m*, as in the oldest glosses, *erchim*, now *erch-i* 'to ask'; *molim*, now *mol-i* 'to praise'. Here belong *bod-i* 'to drown', Ir. *bádud*; *cyrch-u* 'to approach', from Lat. *cercare*, cf. Fr. *chercher*; *gwisc-aw*, now *gwisgo* 'to dress'.

4. With *-l* or *-ll*: *caffel* 'to take', Ir. *gabál*; *sefyll* 'to stand'.

5. With *-n*: *dwyn* 'to bring'; *atolwyn* 'to beseech'.

6. With *-ec*: *red-ec,* now *rhedeg* 'to run', cf. Ir. *reth-im.*

7. Denominatives in *-a*: *gwreick-a* 'to take a wife', from *gwreic.*

8. Abstracts in *-aeth* (Ir. *-acht*), originally feminine: *march-og-aeth* 'riding, to ride', *gwass-an-aeth* 'serving, to serve'.

## Conjugation.

1. In the 1. sg. of the pres. ind. the oldest glosses show the ending *-m,* now *-f*: *ladam* gl. caedo, now *lladdaf,* Ir. *slaidim.*

The 3. sg. in *-a* belongs originally to denominatives only, as *terfyn-a,* from *terfyn* = Lat. *terminus*; *gor-thrym-ha,* from *gor-thrwm* 'very heavy'.

The pres. ind. has a future meaning in M. W. as in the mod. language, and periphrastic formations are employed to express the present proper, as 38, 30. 57, 17. 71, 19. 78, 10.

2. What was originally the pres. subj. has now become the second future tense (Spurrell). The old forms are, from *caru* 'to love': *carwyf, carych, caro, carom, caroch, caront.* This mood often has an adhortative force, especially in the 2. persons, as *gwnelych* 17, 17.

3. The imperfect (Spurrell) or praesens secundarium (Zeuss) ran thus of *caru*: *carwn, carut, carei, carem, carewch, cerynt.*

4. The perfect (Spurrell) or praeteritum primarium (Zeuss) had the following forms: *cereis, ceret, caras, carassam, carassawch, carassant.* Some verbs made the 3. sg. in *-es, -is, -us, -wys,* as *rodes* 'he gave', *erchis* 'he demanded', *barnus* 'he judged', *kyrchwys* 'he attacked'. The pl. endings are sometimes added directly to the stem, as *gwel-sam* 'we saw' etc. Some verbs form their 3. sg. in *-t* (cf. the Irish *t*-preterit), as *can-t* 'he sang', Ir. *cét*; *gwan-t* 'he slew'; *kemer-th* 'he took'; *differ-th* 'he protected' etc. These forms as well as those in *-as, -es* etc. have in Mod. W. (except dialectically in South Wales) been given up for forms in *-odd,* M. W. *-awd.*

5. In the 3. sg. preterit of the passive voice we observe the same variety of the vowel as in the active: *carat* 'he was loved'; *rodet* 'it was given'; *edewit* 'it was promised'; *na welut* 'he was not seen'; *magwyt* 'he was reared'; the last form in *-wyt* having become the norm in Mod. W. In some rootverbs the suffix has been joined directly to the root, as in *llas* 'he was slain', for **llad-t,* from *llad*; *ny wys* 'it was not known', Ir. *fess,* from *gwyd.*

6. Of real old perfects, about which see Rhys, *Rev. Celt.* VI. pp. 16—24, we have *dywawt, dywat* 'he said' from *dywed-ut, gwnn* 'I know', *adwaen* 'I know', *cigleu* 'I have heard'.

